wch ddilynwyr Duw, fel plant anwyl." Eph. v: 1. Ar hyd ei ffyrdd a'i weithredoedd y mae i ni ddilyn Duw. Cyn belled ag y bôm yn gwneuthur ar ôl Duw, mewn daioni, cariad, cyfiawnder, trugaredd, &c. cyn belled a hynny, yr ydym yn blant iddo.

Eisiau ystyried y pethau hyn sy'n peri i lawer wneuthur eulun o'r gwir Dduw, a chymmeryd arnynt weddio fel y cenhedloedd, ni wyddent amcan ar bwy, na pha fodd y cânt dderbyn y pethau y maent yn eu ceisio.

A hyn yw'r achos, pa ham y mae cyunifer yn proffessu pob rhan arall o grefydd Dduw mor amharchus ac mor ragrithiol. Lle ped adnabyddent yn union, ac ystyrient yn ddyfal, ni feiddient amgen, na ddeuent i'w wasanaeth ef; a chwedi dyfod, ei wasanaethu mewn ofn ac anrhydedd. O eisiau ystyried hyn y mae ein gweddiau yn anghymmeradwy, yn anffrwythlawn. "Gofyn yr ydych, ac nid ydych yn derbyn o herwydd eich bod yn gofyn ar gam." Iag. iv. 3. Nid ydych yn meddwl, mai Tâd y goleuni yw efe, oddiwrth ba un y disgyn pob rhoddiad daionus a phob rhodd berffaith." Iag. i. 17. Nid ydych yn ystyried pa fath Dad haelionus ydyw efe.

"Tâd y goleuni; Oblegid ei fôd yn trigo yn y goleuni ni ellir mor dyfod atto." 1 Tim. vi. 16. "Ac efe sydd awdur nid yn unig o o-

leuni rheswm naturiol, a grâs goruwch-naturiol, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn, a'r sydd yn dyfod i'r byd. Ioan i. 9.

"Yr ydym ni cyhyd gyda Christ heb ei adnabod fel y mae yn dywedyd wrth Philip." Ioan xiv. 9. Cyhyd yn proffessu ffydd Grist, yn gweddio a galw ar y Tâd heb ei adnabod. Canys nid edwyn neb y Tâd, ond yr hwn sydd wir-blentyn iddo ac a'i caro. A pha fodd y geill dyn yn y byd ddewis na charo ef, gan ei fôd yn Brif-ddaioni, pes adwaenai ef? Gan weled fôd natur Duw yn hudo dynion i garu ei ddaioni. A phwy bynnag a garo ddim yn fwy na'i Dâd nefawl, nid yw deilwng, o hono ef, nid yw deilwng, nid yw gymmwys i'w alw ef yn Dâd.

Y neb gan hynny a chwennycho, fel yr oedd Philip, gael gwir-wybodaeth am y Tâd, rhaid iddo ddysgu ei adnabod ef drwy gariad, a chariad a adwaenir wrth gadw y gorchymmynion. "Yr hwn sydd a'm gorchymmynion i ganddo; ac yn eu cadw hwynt, efe yw'r hwn sydd yn fy ngharu i: a'r hwn sy'n fy ngharu i a gerir gan fy Nhad i: A minnau a'i caraf ef ac a eglurâf fy hun iddo. Ioan xiv. 22.

Anwylyd, carwn ei gylidd: Oblegid cariad, o Dduw y mae; a phob un ag sydd yn caru o Dduw y ganwyd ef, ac y mae efe yn adnabod Duw. 1 Ioan iv. 7.

Felly'r ydym yn adnabod y Tâd, o herwydd ein geni o honaw ef, a'n bod ni yn blant iddo: Nyni a wyddom ein bod yn blant iddo, a'n geni o honaw, am ein bod yn ei garu; ac yn hyn y gwyddir ein bod ni yn ei garu, oblegid ein bod ni yn cadw ei orchymmynion.

Pob gwybodaeth, oddieithr gwybod pa fodd y cerir y Tâd, ac y gwasaneuthir iddo mewn Yspryd a gwirionedd, nid yw ddim ond gwagedd o wagedd, a blinder y byd. Ond yn y wybodaeth hon o honaw ef, "beth bynnag a ofynnom, yr ydym yn ei dderbyn ganddo ef; oblegid ein bod yn cadw ei orchymmynion ef, ac yn gwneuthur y pethau sy'n rhyngu bodd yn ei olwg ef. 1 Ioan iii. 22.

Ennyn, gan hynny, O Dâd tragwyddol! dy gariad dy hun yn ein heneidiadau, yn enwedig, gan ryngu bodd i'ti yn ôl ein gwneuthur yn blant i ti drwy fabwys yng Nghrist Iesu, gael o honom ein cyfarwyddo trwy wybodaeth dy râs i gymmun dy ogoniant, yn yr hwn y mae ein prif-ddaioni a'n dedwydd-fyd yn sefyll. Caniatha hyn er cariad dy Fâb, &c.

## PREGETH IV.

*Ein Tad ni yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.*

YN y rhagymadrodd yma y mae Crist yn ein dysgu ni. 1. Pan weddiom ar Dduw, ei alw ef yn Dad. Ac yn hynny, (fel y dangosais) fôd llawer o ddysgeidiaeth i'n cyfarwyddo a'n cyssuro; nid amgen, 1. Wrth hyn y mae Crist yn ein dysgu ni, mai at Dduw yn unig y cyfeiriem ein Gweddiau, &c.

2. Wrth weddio, na ddylem ni bob un megis ar ei ben ei hun, neu drosto ei hun yn unig ddywedyd Fy Nhad, ond yn hytrach *Ein Tad ni*, megis yn *meddwl* am ein brodyr, ac yn cyd-weddio a'r Seintiau oll.

Ac etto, nid yw hynny anghyfreithlawn, sef, i bob un o honom o'r neilldu, ac ar ei ben ei hun *gleimio'r hawl, a'r uchelfraint hwn yn neillduol, a dywedyd Fy Nhad. Canys felly y gweddiodd Crist ei hûn. Matth. xxvi. 39. "Fy Nhâd, os yw bossibl, aed y cwppan hwn heibio oddiwrthyf."

Ac os dywed neb, ei fôd efe yn Dad iddo ef mewn modd amgen nag i ni, sef nid o *ras*, ond o *naturiaeth* yn cael ei hanfod o'r Tâd, trwy genedliad tragwyddol; Mi a attebaf, nad

* Arddelwi neu erchi.

yw hynny ddim yn ein herbyn.' Canys yr un modd mae efe yn Dduw iddo ef ac i ninnau; ac etto y mae yn llefain ar y groes. "Fy Nuw, Fy Nuw, paham i'm gadewaist?" Matth. xxvii. 46. Yr un ffunyd y mae St. Paul yn proffessu. "Yr ydwyf yn diolch, i'm Duw." 1 Cor. xiv. 18. A'r prophwyd Dafydd yn fynych. "O fy Nuw, llefain yr ydwyf y dydd, ac ni wrandewi." Psal. xxii. 2. Cyfod Arglwydd, achub fi fy Nuw." Psalm iii. 7. Ac Ezra. "O fy Nuw, y mae arnaf gywilydd; a gorchwyledd godi fy wyneb attat ti fy Nuw." Ezr. ix. 6. A Nehemia, "Cofia fi, O fy Nuw, er lles i mi." Nehem. v. 19. vi. 14. &c.

Yr un modd, y mae yn addas i ninnau trwy hyder-ffydd, bob un o honom, ei briodoli ef iddo ei hun, a dywedyd, Fy Nuw, Fy Nhad, fy Arglwydd, &c.

Ond yn y weddi gyffredinol hon y mae Crist yn peri i ni ddywedyd *Ein Tad ni* er ychwaneg o ddysgeidiaeth.

1. Megis ag wrth ei alw ef yn Dad, nid ydym yn anghofio, na'r Mâb, na'r Yspryd Glan, ond yn cyd feddwl am y tri Pherson, y Drindod fendigedig ynghyd; felly wrth ddywedyd *Ein Tad ni*; Na ddylem ni fôd yn ofalus feddylgar am ein anghenrheidiau ein hunain; eithr cyd-ymofidiaw tros ein brodyr yr holl *Eglwys*, yn milwrio ar y ddaear, a chyd feddylied am

eu cyfreidiau a'u diffygion hywthau, a gweddio trostynt. Ac nid yn unig eu cofio hwy yn ein gweddiau, gan ddwyn ewyllys da iddynt, ac erfyn trostynt, eithr ymegnio hefyd yn ein gweithredoedd, a bod yn barod bob amser i roi cais a'r wneuthur pob daioni iddynt. Yr hyn hefyd mae St. Paul yn ein hannog i'w wneuthur, "fel na byddai anghydfod yn y corph, sef corph Crist, yr hwn ydych chwi, ac aelodau, o ran, eithr bod i'r aelodau ofalu'r un peth tros eu gilydd." 1 Cor. xii. 25.

2. Y mae'r gair hwn yn dangos, pa feddwl a ddylem ni fôd ynddo pan weddiom; sef, a chariad perffaith yn ein calonnau tuag at Dduw a dynion.

Y rhan gyntaf o'n cariad tuag at Dduw, a gynhwysir yn y gair cyntaf, "*Pater—declarata Dei bonitate ad amandum Deum nos Christus provocat.*" "Wrth ddatgan daioni Duw, fel y "mae efe yn-*Dad*,—y mae Crist yn ein han-"nog i garu Duw." Y neb ni charo Dduw, pa fodd y gall efe fôd yn blentyn iddo? Y rhan arall o'n cariad, sef, tuag at Ddynion, sydd gwedi ei gynnwys yn y gair nesaf, *Noster*, *Ni.*—"*Pater noster, &c. Ein Tad Ni.*"

Megis yr ydym yn cydnabod ei drugaredd tuag attom, ac yn gorfoleddu ynddo, ein bod ni i gyd yn blant i'r un Tad: felly ni a ddylem ymddwyn fel brodyr tuag at ei gilydd.

"Byddwch ddilynwyr Duw fel plant anwyl, a rhodiwch mewn cariad," Eph. v. 1. Am ben hyn, medd St. Peter, "byddwch oll yn unfryd, yn cydoddef a'i gilydd, yn caru fel brodyr, yn drugarogion, yn fwynaidd." 1 Pet. iii. 8.

"*Charitas est quæ orationem Deo commendat.*
"Cariad sydd yn gwneuthur ein gweddiau yn
"gymmeradwy ger bron ein Tâd nefawl," fel y dywaid yr Apostol am ffydd; felly y dyw dwn ninnau am gariad, "Hebddi hi amhossibl yw rhyngu bodd Duw." Heb. xi. 6. "Duw ei hun cariad yw." 1 Ioan iv. 8. A'r hwn nid yw yn caru nid adnabu Dduw: ac nid edwyn Duw mono yntau, ac ni chlyw mo'i lais yn gweddio, ac yntau heb fôd cariad ganddo.

Y mae ein Iachawdwr yn dywedyd yn eglur, na bydd i ni fûdd yn y byd o'n gweddiau, oni bydd cariad gennym. Matt. vi. 15. "Oni faddeuwch i ddynion eu camweddau, ni faddeu eich Tad eich camweddau chwithau." Ni faddeuir byth oni cherir; ac oni faddeuir i ni ein camweddau, pa les a fydd i ni? "Pe llefarwn a thafodau dynion ac Angylion, ac heb fod gennyf gariad, yr wyf fel efydd yn seinio, neu symbal yn tingcian: Nid wyfi ddim; Nid yw ddim lleshâd i mi." 1 Cor. xiii. 1, 2, 3.

Ac yn hyn y mae gostyngeiddrwydd yn ymddangos. Canys nid yw cariad yn *ymffrostio*, nac yn *ymchwyddo*. *In hac nulla arrogantia,*

*sed humilitas major, ac fructus uberior.* Medd Ambrose, sef.

"Yn yr hon weddi a wneir trwy gariad," "trwy feddwl am ein brodyr, ni fydd rhyfyg; "ond ychwaneg o ufudd-dod, ac wrth hynny "ychwaneg o ffydd." *Nam & pro mendico orat Rex, pro paupere locuples, &c.* "Canys wrth "ddywedyd hyn y mae'n Brenhin yn gweddio "tros ei weision, y Tywysog tros ei ddeiliaid:" ac yn cydnabod eu bod hwy i gyd yn gyd-radd wrth eu galw hwynt yn frodyr.

A llawer a ddichon hyn tuag at attal balchder, ac helaethu gostyngeiddrwydd ynom. A Christ yn peri i ni i gyd, ddywedyd, *Ein Tad,* pa beth a adawyd i'r cyfoethog i orfoleddu ynddo mwy nag i'r tlawd? Mae i'r *cardotyn* gystal hawl yn yr etifeddiaeth dragwyddol, ag i'r cyfoethoccaf yn y byd, beth bynnag mwy. Canys y rhai ni fyddant *dlodion yn yr Yspryd,* ni chânt mor myned i mewn i deyrnas nefoedd. Canys yr ydych yn gweled eich galwedigaeth, frodyr, "nad llawer o rai doethion yn ôl y cnawd, nad llawer o rai boneddigion a alwyd. 1 Cor. i. 26. Gwrandewch, fy mrodyr anwyl, oni ddewisodd Duw dlodion y byd hwn, yn gyfoethogion mewn ffydd; ac yn etifeddion y deyrnas, yr hon a addawodd efe i'r rhai sydd yn ei garu ef?" Iag. ii. 5.

3. Y trydydd peth yn y rhagymadrodd yw, y dylem ni ystyried *mai yn y nefoedd y mae*

*ein Tâd, yr hwn yr ydym yn galw arno.* Nid fel pe bai ein Duw ni a'n Tâd nefawl yn *gymnwysedigaidd* yn un lle; oblegid y mae ef o'i anherfynedig angyrhaedd yn llenwi y Nefoedd a'r ddaear, ac yn cynnwys pob lleoedd, heb ysbaid: Llê, neu derfyn, ni ddichon ei gynnwys ef; ac heb fôd yn absennol yn un lle, y mae yn bresennol ymmhob lle.

Nid ydym yn dywedyd, *Yr hwn wyt yn y nefoedd* fel pe bai efe ymmhell oddiwrthym: Canys, meddaf, mae Duw ymmhob lle, ac ymmhob un o honom. Nid yw efe yn ddiau medd yr Apostol, "neppell oddiwrth bob un o honom. Oblegid ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn symmud, ac yn bôd." Acts xvii. 27, 28. Y mae pedair grâdd o *bresenoldeb* Duw.

1. Y gyntaf, sydd *Enwedigol*, drwy'r hon y mae Duw ymmhob lle, yn *Elanwedigaidd*; eithr nid yn un lle yn *Gynhwysedigaidd*.

2. Yr ail hefyd, sydd *Enwedigol*, drwy'r hon y dywedir fôd Duw yn y nefoedd, megis yn y weddi hon, a llawer o fannau eraill, o herwydd bod yno ei allu, a'i ddoethineb, a'i ddaioni, mewn modd mwy rhagorol i'w gweled a'i mwynhau; ac hefyd, oblegid oddi yno, yn arferol, y mae efe yn tywallt ei fendithion a'i farnedigaethau.

3. Y drydydd yn *fwy Enwedigol*, drwy'r hon y mae Duw yn preswylio yn ei Seintiau.

4. Y bedwerydd yn *fwyaf Enwedigol* a di gyffelyb, drwy'r hon y mae cyflawnder y Duwdod yn "preswylio yng Nghrist yn gor phorol." Col. ii. 9.

Am yr *ail radd* yn bennaf yr ydym ni yn me ddwl wrth weddio. Ac wrth ddywedyd hyn yr cydnabod,

1. *Ei dduwiol allu*, drwy ba un y dichon ef yn ddiattal wneuthur pa beth bynnag a ewyll ysio, ac a wna i ninnau yn ddimmau, pa beth bynnag a ofynnom ar ol ei ewyllys, ac a fydd er ein lles. Ni ettyl dim mo'i ddaioni a'i gar edigrwydd fel y mae yn Dad i ni, na dim e allu fel y mae yn y nefoedd.

2. *Ei Ragddarbodaeth a'i* ragluniaeth, ei fod ef yn gofalu trosom, yn "*gwybod ac yn gwele ein angkenrheidiau cyn y gofynnom*," yn rheol pob beth, ac yn arfaethu pob beth i bawb, yn enwedig i'w Eglwys.

*Ei dduwiol ddoethineb*, yn gwybod yn hygal bob math a phob modd o ymwared ac achub iaeth a fo rhaid i ni wrthynt.

4. *Ei dduwiol fawrhydi*, drwy'r hon y mae yn teyrnasu ac yn rheoli megis Arglwydd a Brenhin ar yr holl greaduriaid: a swydd ne frenhiniaeth, yr hwn sy yn preswylio yn y nef, ydyw,—Gwrando gweddiau, gofalu tro ei eiddo, eu hachub, a'u gwaredu, fel y gwe efe yn dda, ac yn fuddiol iddynt.

Swm y rhagymadrodd yw, iawn synniad pa fodd y mae Duw yn Dâd i ni, ac yn y nefoedd; ei *fawrhydi*, a'i *ddaioni*, ei ewyllys da tuag attom, a'i allu i wneuthur erom; dau Golofn *Ffydd*; ar y rhain y mae hi yn pwyso, ac wrth y ddau ynghyd y mae i ni gyssur a hyder, a ninnau yn sefyll yn ddisigl. Ni fyddem ni ddim gwell er ei ddaioni oni bai ei dduwiol allu i roi i ni bethau da yn ddiattal: Ni fyddem ddim gwell chwaith er ei allu oni bai ei dadol ddaioni, a'i ym··garoedd yn tosturio wrth ein gwendid a'n gwaeledd: Oddiwrth y ddau y mae i ni hyder a chyssur, y gwrendy ac y gwnâ y pethau a geisiom yn gweddio.

Ac o hyn y mae i ni ddysgu ymmhellach.

1. Iawn synnied o dduwiol Fawrhydi ein Tâd nefawl: Nid yn ôl y gwrth-gas a'r cablaidd draws-feddyliau, y rhai o naturiaeth a gyfodant ym mhennau rhai dynion: Megis y dychymygant fôd Duw yn debyg i hên ŵr yn eistedd mewn cadair; a bod y Drindod fendigedig yn debyg i'r eulun tri-rhannog a baentiai y Pabyddion, yn ffenestri eu Heglwysi.

Ni ddylem ni dybied fod y Duwdod yn "debyg i aur, neu arian, neu faen o gerfiad celfyddyd a dychymmyg dyn." Act. xvii 29. Na thybygwn ddim gwael daearol, (ar ôl dull y byd hwn) ond pethau nefawl yn unig a gogoneddus, am dano.

Ie, na dim arall yn y byd. Nid yw Duw debyg i ddim. "I bwy i'm gwnewch *yn debyg*, ac i'm cystedlwch, ac i'm cyffelybwch, fel y byddom debyg." Esa. xlvi. 5.

2. I ddeall y rhagoriaeth sydd rhwng *ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd*, a'n Tadau ar y ddaear; fel y mae Crist eu hun yn eu gosod yn erbyn eu gilydd, Matth. xxiii. 9. "Na elwch neb yn Dad i chwi ar y ddaear: Canys un Tâd sydd i chwi yr hwn sydd yn y nefoedd."

Duw yn unig ydyw ein prif Dâd oll, ein hunig Dâd ar ôl perffeithrwydd *tadogaeth*. "O'r hwn *yr henwir yr holl deulu*, (*neu dadogaeth.*) yn y nefoedd, ac ar y ddaear." Eph. iii. 15. "Ynddo ef yr ydŷm yn byw, yn symmud, ac yn bôd." Act. xvii. 28. Efe yw awdr ein bywyd yn llunio'r corph, yn crëu ac yn rhoi'r enaid ynddo. Efe sy'n ein porthi, ein hymgeleddu, ein trin, a'n cadw. A thadau ein cnawd nid ŷnt yn gwneuthur dim i ni, oddiethr trwyddo ef; ac am hynny nid ŷnt yn haeddu mo'u galw yn dadau, na'u cystadlu iddo ef.

3. I'n rhybuddio wrth yr henwad yma, na ddylem ni geisio gan Dduw ond pethau nefawl yn arbennig; a phethau bydol fel y bônt yn gwasanaethu, ac yn tueddu at ogoniant ein Tâd nefawl. Canys i hyn i'n hadgenhedlwyd, sef i "etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig,

a di-ddiflannedig, ac ynghadw yn y nefoedd i ni." 1 Pet. i. 4.

4. I'n rhybuddio nad yw ein bywyd yn y byd hwn ond pererindod, a'n bod oddi-cartref oddiwrth yr Arglwydd, tra'r ydym yn gartrefol yn y corph; ac am hynny y dylem ni ocheneidio yn oestadol, gan "ddeisyfu cael ein harwisgo a'n tŷ sydd o'r nef. A'r hwn a'n gweithiodd ni i hyn yma yw Duw, yr hwn hefyd a roddodd i ni ernes yr Yspryd." 2 Cor. v. 2, 5.

## PREGETH V.

*Sancteiddier dy enw, &c.*

YN y weddi ei hun y mae *chwech* o ddeisyfiadau; *Tri yn berthynasol i Dduw*, hynny yw, am bethau a berthynant i Dduw; a *thri i ninnau*; tri am bethau anghenrheidiol i ddynion.

1. Pethau Duw; ei ogoniant, ei deyrnas, a'i ewyllys.

2. Pethau dynion, ein bywyd, ein pechodau, a'n profedigaethau.

Yn y deisyfiad cyntaf y mae ein Iachawdwr yn ein dysgu i weddio, fel y gweddiodd efe ei hun, Ioan xii. 28. "O Dad gogonedda dy enw". Yr un peth yw gogoneddu a sancteiddio ei enw.

Ac nid heb achos y ceisiem ni hyn yn gyntaf dim, o achos pa un y gwneler pob peth; go-

goniant Duw yw diwedd y creaduriaid oll. "Yr Arglwydd a wnaeth bob peth er ei fwyn ei hun; a'r annuwiol hefyd erbyn y dydd drwg." Dihar. xvi. 4.

Ond fel y gallem geisio neu ddeisyfu hyn yn y modd y dylem, rhaid i ni ystyried pedwar peth; megis ag yn y lleill hefyd.

I. Pa bethau da yr ydym yn eu dymuno wrth ddywedyd hyn, *Sancteiddier dy enw.*

II. Pa bethau drwg, yr ydym yn gweddio rhagddynt.

III. Y dylem ni roddi diolch i Duw am ei ddoniau daionus yr ydym ni yn eu cael er mwyn hyn, a'r drygau yr ydys yn eu gochelyd

IV. Y dyleu pob dyn ei holi ei hun, ei galon, a'i gydwybod; a ydyw efe yn ddiau yn bwriadu, ac yn ceisio gwneuthur yn ol y dymuniad hwn; holed ei hun, pa beth y mae efe, ai yn gogoneddu a sancteiddio Duw yn ei holl weithredoedd, ai nad ydyw? Y neb a ddywetto ei *Bader* yn iawn, ac yn fuddiol iddo ei hun, rhaid iddo ystyried y pethau hyn yn arbennig am bob un o'r deisyfiadau.

Oddieithr i ddyn wybod pa beth yw enw Duw, ni ddichon ac ni chais mo'i sancteiddio. Ni ddichon chwaith mor gweddio am y peth ni wyr ddim oddiwrtho. Rhaid i ni ddeall,

1. Pa beth yw *enw Duw.* 2. Gwedi hynny, beth yw *Sancteiddio.*

*Enw Duw*, a elwir yn yr Ysgrythur Lân,

1. Duw ei hun. *Salm* v. 11. *Llawenhaed y rhai oll a ymddiriedant ynot ti; A'r rhai a garant dy enw, gorfoleddant ynot*, ie, Y rhai garant Dduw gorfoleddant ynddo.
*Gwrandawed yr Arglwydd arnat yn nydd cyfyngder; Enw Duw Jacob a'th ddiffynno. Salm* xx. 1.
2. Ei briodoliaethau a'i weithredoedd. *Sal.* viii. 1. *Mor ardderchog yw dy enw ar yr holl ddaear.*
3. Ei orchymmyn, ei awdurdod, a'i allu.—*Dysgwch yr holl genhedloedd, gan eu bedyddio hwy yn Enw'r Tad, &c. Matth.* xxviii. 19.
4. Ei anrhydedd a'i ogoniant. *Act.* xxi. 13. *Parod wyf fi, nid i'm rhwymo yn unig, ond i farw hefyd er mwyn Enw'r Arglwydd Iesu.*
5. Pob peth yr adwaenir Duw wrtho; megis ag yr adwaenir dynion wrth eu henwau. A'r un modd yr adwaenir Duw wrth ei briodoliaethau, ei air, ei farnedigaethau, ei weithredoedd, a'i greaduriaid.

*Sancteiddio*, a arwyddocâ, weithiau,

1. Gwneuthur yn sanctaidd; felly Duw yn unig sy'n sancteiddio, *Sancteiddia hwynt yn dy wirionedd. Ioan* xvii. 17. *Fel y sancteiddiai efe hi. Eph.* v. 26.

2. Cyssegru, neu neillduo peth cyffredin o hono ei hun i ryw wasanaeth sanctaidd, *Jeremi wedi ei sancteiddio i fod yn Brophwyd, Jer.* i. 5. *Paul yn Apostol. Rhuf.* i. 1. *Pob cyntafanedig, Exod.* xiii. 2. Amseroedd, lleoedd, a phethau eraill.

3. Cydnabod a chanmawl yr hyn sy sanctaidd ynddo ei hun; *Sancteiddiwch yr Arglwydd Dduw yn eich calonnau.* 1. *Pet.* iii. 15. *Gan ddatgan ei haeddediccaf foliant o ran sancteiddrwydd, &c.*

Pa beth gan hynny ydys yn ei geisio wrth ddywedyd hyn, *Sancteiddier dy enw?* Ceisio'r ydym gan Dduw, deilyngu o hono, drwy dywallt ei râs yn ein calonnau ni i gyd, ein sancteiddio ni iddo ei hun, fel y gallom ninnau ei sancteiddio yntau, hynny yw, ymddwyn gyda pharch a gostyngeiddrwydd tuag atto, anrhydeddu ei Enw, ei Fawrhydi, ei Briodoliaethau,

ei Weithredoedd, ei Air, ei Eglwys, a'i Weinidogion; A'n cadw drwy ragluniaeth ei ddaioni oddiwrth bob peth, ar feddwl, gair, a gweithred, a'i dianrhydeddа ef.

Gan edrych yn ddyfal na bo neb yn pallu oddiwrth râs Duw, "rhag bod un gwreiddyn chwerwedd yn tyfu i fynu, ac yn peri blinder, a thrwy hwnnw llygru llawer." Heb. xii. 15.

Y pethau da a ofynnir wrth ddywedyd hyn, ydynt y rhadau oll y gogoneddir Duw ynddynt.

I. Gwybodaeth am Dduw, ei briodoliaethau a'i weithredoedd; *Canys y neb nid adnabu Dduw, pa fodd y dichon ei anrhydeddu ef?* Ac etto, fe ddichon Duw ei ogoneddu ei hun yn yr anwybodus, ond heb ddiolch iddo, ac yntau heb osod ei galon at ei ogoneddu ef.

2. Cariad, ofn, parch, a gostyngeiddrwydd.—"Sancteiddiwch yr Arglwydd Dduw yn eich calonnau." 1 Pet. iii. 15. Pa fodd? "Byddwch barod bob amser i atteb i bob un a ofynno i chwi reswm, am yr obaith sydd ynoch, gydag addfwynder ac ofn; a chennych gydwybod dda."

Rhaid wrth hynny, fel y gallem ei sancteiddio, fod gobaith ynom, sef *Gobaith* yn Nuw, am yr etifeddiaeth dragywyddol: *A Pharodrwydd i roi atteb i'r neb a ofynno reswm am yr obaith sydd ynom.* Ac hynny ni ddichon neb heb wybodaeth am Dduw, a'r pethau dâ y mae efe yn eu gobeithio, ac yn eu disgwyl ar ei law ef.

Ac *addfwynder* ac *ofn*. Addfwynder, o ran *dynion a ofynnant y rheswm*. Ofn, o ran Duw, yr hwn yw *sail ein gobaith, am yr hon yr attebir iddynt*. O gariad y daw bôd yn addfwyn; ac o ffydd yn Nuw, bôd yn ofnus tuag atto ef. A lle bo 'rhai'n, fe fydd cydwybod ddâ yn canlyn.

3. Diolchgarwch, moliant, a chlôd i Dduw am ei holl ddôniau a'i ddaioni, "Lloi ein Gwefusau," Hos. xiv. 2. Yn hyn y mae Duw ei hun yn dywedyd ein bod yn ei "sancteiddio ef. Yr hwn a abertho foliant, a'm gogonedda i." Salm l. 23. Ac hyn y mae'r Apostol yn ein hannog. Heb. xiii. 15. "Trwyddo ef gan hynny offrymmwn aberth moliant yn wastadol i Dduw, yr hyn yw ffrwyth gwefusau yn cyffessu i'w enw ef."

4. Wrth ddywedyd hyn, yr ydym yn attolwg i Dduw, ar iddo droi a gosod ein calonnau i ddal sulw ar ei holl weithredoedd, a pherchi ei gyfiawnder, ei drugaredd, ei allu, a'i ddoethineb.

5. Yn gymaint a bod Duw yn gweithredu y pethau hyn ynom, a ninnau yn eu dysgu trwy bregethiad ei air, a gweinidogaeth ei Eglwys, yr ydym yn attolwg iddo, fendithio ein *Plwyfau a'n Heglwysi*, gan roi iddynt athrawon cyfiawnder, weithwyr profedig gan Dduw, difeft o flaen dynion, "yn iawn gyfrannu gair y gwirionedd." 2 Tim. ii. 15. Ac iddynt hwythau ddisgyblion ffyddlawn i wrandaw yn ufydd

y gair, ac o bûr ewyllys, fel y gallom ynghŷd ei osod allan yn ein holl fuchedd a'n hymarweddiad, ac yn hynny sancteiddio a gogoneddu Duw a'i enw yn ein holl weithredoedd, a'n hymddygiad. Hyd yn hyn am y *pethau da*, &c.

II. *Y pethau drwg yr ydys yn gweddio rhagddynt;* pob peth, a phob gweithred ag yr ammherchir Duw a'i enw trwyddynt. "*Pob ffals ddysgeidiaeth, pob opiniwn annuwiol, anniweirdeb, ffug-sancteiddrwydd, dirmyg ar air Duw a'i weinidogion, ar ei ordinhâdau, a'i orchymmynion.*" Rhag y newyn y mae Amos yn sôn am dano, Am. viii. 11. "Nid newyn am fara na syched am ddwfr, ond am wrando geiriau'r Arglwydd."

Rhag symmudiad y canhwyllbren y mae'r Yspryd yn bygwth i Eglwys *Ephesus*. *Dat.* ii. 5. a'r tywyllwch a ganlynant, (hynny yw) rhag i Dduw gymmeryd oddiwrthych bôb Pregethwr, a dysgawdwr dâ, a allai eich blaenori mewn buchedd dduwiol.

"Rhag y bleiddiau rheibus mewn gwisgoedd defaid," y rhai y mae Crist yn peri eu gochelyd, Matth. vii. 15. "Yn dyfod attoch mewn rhith sancteiddrwydd, ond trwy hynny i anrheithio eich eneidiau."

"Rhag y baedd o'r coed a ddiwreiddia y winllan a'r winwydden, a bwystfil y maes a'i pawr." Salm lxxx. 13. "a'r llwynogod bych-

ain a ddifwynant y gwinllannoedd." Can. Sal. ii. 15. Hynny yw, rhag y grymmus a'r rhai dichellgar a geisiant ddifetha *Eglwys* Dduw.

Rhag pob peth, a gweithred, a ddianrhydedda Dduw; pob rhwystr duwioldeb, a phob dyn a gais ei anrhydedd ei hun, a orfoledda yn y cnawd, ag na wna bob peth er gogoniant i Dduw. Rhag y gweision drwg, rhy aml yn yr amseroedd diweddaf hyn, yn cûro eu cyd-weision; cyssegr-yspeilwyr yn anrheithio Tŷ eu Harglwydd, ag yn dwyn oddiarnynt gyflog y llafurwyr.

III. Wrth ddywedyd hyn, nyni a ddylem feddwl am yr holl ddaioni a wnaeth Duw i ni er mwyn hyn, fel y gallem anrhydeddu ein Tâd yr hwn sydd yn y nefoedd, cofiwn y dyddiaû gynt, a'r trugareddau a gawsom eu mwynhau ynddynt: Goleuni'r Efengyl yn ein mysg, pûr bregethiad gair Duw, ag iawn ymarfer a'i Sacramentau, a'i *ordinhadau*, tan lywodraethwyr duwiol, agos er's cant o flynyddoedd.* Fel plant *Israel* yn *Goshen* yn gweled grâs a gogoniant Duw yn y goleuni, a'n cymmydogion yr ûn agwedd a'r *Aipht* yn dywyllwch o'n cwmpas. "Ni wnaeth efe felly ag un genedl, ag nid adnabuant ei farnedigaethau." Salm cxlvii. 20.

Och fi! na bai ynom galon i gydnabod hyn, a bod yn ddiolchgar iddo am ei holl ddaioni,

* Hynny yw, er y Diwygiad. O. A. 1547.

fel y gallai efe adnewyddu ei drugaredd bob boreu tuag attom.

O eisiau ystyried a chydnabod hyn y mae Duw yn dechreu cuddio ei wyneb, yn bygwth symmud y *canwyllbren*, a dwyn goleuni ei air oddi arnôm. Canys lle bo dynion yn anniolchgar, heb gydnabod ei haelioni, iawn i Dduw ddwyn ymmaith ei râs oddiwrthynt, a rhoi iddynt dywyllwch yn lle goleuni, wyr trawsion a chynhennûs, yn lle adeiladwyr ffyddlon; a newyn am air yr Arglwydd, lle y cawsant eu digoni, a'u diwallu o'r blaen; dirmyg, a ffieidddra yn lle gogoniant, &c.

IV. Holed pob un ei galon ei hun, pan fo ar fedr gweddio, a ydyw yn wîr ac ar weithred yn ceisio sancteiddio Enw Duw. Yr wyt yn dywedyd *Sancteiddier dy enw*, ac wrth hynny yn dymûno, ar iddo wneuthur llewyrch ei wyneb dywynnu arnat, ddanfon ei air, ei wirionedd, a'i Efengyl yn ein plith.

Oni wnaeth efe hyn oll iti a'r ôl dy ddymuniad? Hola dy hun, wyt ti yn ddiolchgar iddo am hyn ô ddaioni,—a wyt ti yn dyfod i'r Eglwys i wrando ei air, ie, a wyt ti yn ei wneuthur, ar ôl ei glywed?

Duw a wnêl nad ydwyt yn ei ddiystyru, yn ei gablu, a'i ddifenwi.—Agor, o Dduw! ein llygaid, fel gwelom bethau rhyfedd am danat—fel y gallom adnabod dy allu, dy ddoethineb, dy gyfiawnder, dy drugaredd.——Helaetha

ein calonnau, i'th ofni, i'th garu, i ymddiried ac i orfoleddu ynot; agor ein gwefusau i'th foliannu, i offrwm iti aberth moliant am dy holl ddaioni; I weled a chydnabod dy weithredoedd, dy anrhydeddu di ynddynt, a'th ogoneddu ymmwyniant dy greaduriaid.

---

## PREGETH VI.

### *Deued dy Deyrnas, &c.*

YN y *Deisyfiad cyntaf* y gosodir o'n blaen Ogoniant Duw a Sancteiddiad ei enw, y peth cyntaf a ddyleu bawb ei geisio. Yn yr *ail*, ar lleill sy'n canlyn, y mae i ni y moddion i'n cyfarwyddo tuag at geisio ag eglurhau ei ogoniant.

Canys Enw Duw a ogoneddir, pan ddercheſir ei *Deyrnas* ynom; Ei râs, ei Yspryd, a'i dangnefedd yn llywodraethu yn ein Calonnau. *Deis.* 3.—Pan fôm yn gwneuthur ei Ewyllys, yn ymostwng, ac yn ufyddhau iddo. *Deis.* 4. —Yn bwrw ein baich ar ei ragluniaeth ef am anghenrheidiau'r byd presennol hwn. *Deis.* 5. —Yn ymddiried yn ei drugaredd am faddeuant o'n pechodau. *Deis.* 6.—Yn ymroi i'w râs, a'i allu am gael ein hamddiffyn, a'n gwared rhag pob rhyw ddrwg, pa un bynnag ai yn ei amcan, a'i arfaeth wrth brofedigaeth, ai yn ei gwblhâd, pan fo chwant gwedi ymddwyn, ac esgor ar bechod.

I'r Drindod fendigedig y mae tri math o Deyrnasoedd. 1. Teyrnas ei Allu. 2. Ei Râs. 3. Ei Ogoniant.

1. Am y gyntaf y dywed y prophwyd, Salm ciii. 19. "Yr Arglwydd a barottôdd ei orseddfa yn y nefoedd; a'i frenhiniaeth ef sydd yn llywodraethu ar bob peth." Ac etto. Salm cxlv. 13. "Dy frenhiniaeth di sydd frenhiniaeth dragywyddol; a'th lywodraeth a beru yn oes oesoedd."

Am y frenhiniaeth yma, os ydyw'r weddi yn ei chyrhaeddyd, yr ydys yn deisyfu gan Dduw, a'r iddo beri i'r holl fŷd ei chydnabod, a gogoneddu ei enw ynddi; a'r i bob dyn gyfaddef mor ddoeth ac mor alluog ydyw Duw yn ei reolaeth ar ei greaduriaid oll, ond yn enwedig yn ei *Eglwys*, ei dŷ ei hun, sef, *Teulu y Ffydd*. A hyn a ddysgodd Crist ei hun i ni yn niwedd y weddi, wrth ddywedyd. *Eiddo ti, &c.*

2. Teyrnas Grâs Duw, a'i ogoniant, nid ydynt deyrnasoedd neillduol, ond dwy ran o'r ûn frenhiniaeth: Yn ddechreuedig yn y gyntaf, yn gwbl-berffaith yn y llall. Un yn y bŷd yma, a'r llâll yn y byd sydd ar ddyfod.

Brenhiniaeth neu deyrnas grâs Duw, ydyw *ystâd* ysprydol drwy'r hon y mae Duw yn teyrnasu yn ei weision, a hwythau ynddo yntau, gan ufuddhau iddo yn ewyllysgar, yn cael nerth a gallu i wrthwynebu eu gelynion.

Am yr hon y dywed ein Iachawdr. "Os ydwyf fi yn bwrw allan gythreuliaid drwy Yspryd Duw, yna y daeth teyrnas Dduw attoch." Matth. xii. 28. Chwychwi a welwch yma y gelynion, Cythreuliaid, a'r môdd y mae eu gwrthwynebu a'u gorchfygu, trwy Yspryd Duw: Yng ngrym a nerth yr *Yspryd* y mae y deyrnas hon yn sefyll.

Am yr un y dywed yr *Apostol*, "Nid yw teyrnas Dduw fwyd a diod, ond cyfiawnder, a thangnefedd, a llawenydd yn yr Yspryd Glân." Rhuf. xiv. 17. Yn hyn y mae hi yn sefyll;

1. Yng nghyfiawnder ffydd; y ffydd a gyfrifwyd i *Abraham* yn gyfiawnder, a gyfrifir i ninnau hefyd. Rhuf. iv. 9; 11. Ac yng nghyfiawnder ufudd-dod di-ragrith, er nad yw hi gwbl-berffaith; drwy sancteiddiad yr Yspryd Glân.

2. Yn nhangnheddyf cydwybod tuag at Dduw, gweithrediad cyfiawnder.

3. A llawenydd yn yr Yspryd yn deilliaw oddiwrth y ddau ynghŷd, pa beth bynnag a ddigwyddo yn y byd hwn: Hyfrydwch yn Nuw ymhôb cyflwr.

A'r deyrnas hon, er ei bod hi gwedi dyfod eusoes, fel y mae Crist yn tystiolaethu. Matth. xii. 28. Etto y mae hi fyth yn dyfod; a grâs yn amlhau, a doniau yr Yspryd yn cael eu cryfhau a'u anchwanegu beunydd megis drwy'r weddi yma.

Teyrnas y gogoniant, ydyw ystâd fendigedig neu gyflwr y sainct yn y nefoedd. "*Pacatum, prorsusque tranquillum, quo in Sanctis absque ullius hostis infestatione Deus æternum singulariter regnat.*" *L. B.* "Ansawdd lonydd heddychlawn, Duw ei hun yn teyrnasu yn unigol yn ei Sainct heb wrthwyneb gelyn yn y byd."

A'r rhan yma o'r deyrnas hon nid eiff neb i mewn iddi nes iddo farw. Yna y bydd i eneidiau y cyfiawn, wedi eu puro drwy ffydd yng Nghrist oddiwrth bechod, fel na throseddent mwyach, gael eu derbyn yngwydd a gogoniant y Goruchaf, i fôd gyd a Duw yn dragywydd.

A'r unrhyw ddedwyddwch y mae'r *eneidiau* yn ei fwynhau, ar ôl marwolaeth gorphorol, a gaiff y *corph* hefyd fôd yn gyfrannog o hono yn yr adgyfodiad; wedi ei lwyr-lânhau oddiwrth waelodion llygredigaeth, yn bûr, ogoneddûs, ac anfarwol.

Yno y bydd teyrnas Dduw gwedi dyfod yn gyflawn pan fyddo efe felly yn llywodraethu ymmhawb, ac ymmhôb un, fel na bo dim ond ufudd-dod, na sôn am wrth-rym, na chymmaint a gogwydd i ddim drwg, neu anfodlon i Dduw.

Ac nid heb achos y gweddiwn ar ddyfod o'r frenhinineath hon arnom, gogoniant yn y diwedd, a grâs yn y cyfamser, a nyni wrth hyn yn deall fod *Brenhiniaeth* arall yn y byd hwn,

o'r hon y mae i ni berigl nid bychan, oddiwrth yr hon yr ewyllysiwn gael ymwared, a'n symmud i un a fo well.

Yn y byd hwn y mae teyrnas Satan, meddiant y tywyllwch, grym a brenhiniaeth pechod: Yn yr hyn y mae trais, a gorthrech yn lle cyfiawnder: *Rhyfeloedd*, ac ymladdau, ac aflonyddwch cydwybod, yn lle *Tangnhefedd*. Yn lle diddanwch a llawenydd; gofidiau anrhaethadwy, ofn, a dychryn, a phoenau gwastadol.

A theyrnasoedd y byd hwn, nid ynt ddidrafferth, drygau a chyfyngderau, a therfysgau, (fel y gwyddoch,) yn digwydd iddynt beunydd. Oblegid hynny y gweddiwn yn wresoccach, ac y byddwn daer ar yr Arglwydd, ar iddo brysuro ei *deyrnas* ddidrangc, safadwy, a dianwadal.

Teyrnas Dduw i gyd oll a ddaw, ac a fydd hyspys i ni mewn *pump* o raddau.

1. Yn y moddion oddiallan, y mae Duw yn egluro ei râs a'i ffafr yng Nghrist trwyddynt. O herwydd pa ham yr Efengyl sanctaidd a elwir *Gair y deyrnas*. Matth. xiii. 19. "Pan glywo neb air y deyrnas," (h. y.) Gair Duw, Efengyl Crist, (h. y:) Y gair hwn a elwir y *deyrnas:* "Diammau ddyfod teyrnas Dduw attoch chwi, medd Crist ei hun, am ei weinidogaeth." Luc xi. 20.

2. Yn y llewyrchiad oddifewn, a'r meddwl gwedi ei oleuo, i weled a deall, a chydnabod gwirioneddau Duw, a dirgelion yr Efengyl.

3. Ad-enedigaeth ac ad-newyddiad ysprydol, a'r enaid gwedi ei rhyddhau oddiwrth rwymynnau pechod, a'i gosod tan râs, a'i gwneuthur yn ddeiliad darostyngedig i Grist Iesu.

4. Pan fo'r enaid yn rhydd, drwy angeu, i ddychwelyd at y Duw nefol a'i hanadlodd, a'r llawenydd sydd wedi ei barrottoi iddi yn y nêf.

5. Pan gaffo y dyn ei gwbl-ogoneddu, mewn enaid a chorph; (hynny yw,) Cwblhâd ei ddyfodiad, a pherffeithiad teyrnas Dduw ynddo.

Ac wrth hyn y gwyddoch amcan bellach pa bethau da yr ydym yn eu ceisio yn y deisyfiad yma.

1. Yn gymmaint a bod y neb a fo yn gweddio tan lywodraeth Duw a theyrnas ei allu, y mae yn rhaid, ac yn addas iddo ddymuno gan Dduw, ar iddo a'i raslawn amddiffyniad ei gadw, a'i arwain yn ei holl fywyd.

2. Er iddo *osod ei Frenhin arnom*, fel y mae efe'n dywedyd trwy'r prophwyd, "Minnau a osodais fy Mrenhin ar Sion fy mynydd sanctaidd." Salm ii. 6. sef Crist: Etto, am na ddichon neb ddyfod atto drwy ei nerth *naturiol* ei hun, yr ydym yn attolwg iddo, ein hadgenhedlu a'i Yspryd, ein dysgu a'i air, ein porthi a'i Sacramentau, a thrwy wir edifeirwch, ac adnewyddiad buchedd, ein tywys a'n harwain hyd at frenhiniaeth ei râs, fel y gallom fwynhau'r holl fendithion perthynasol i'w blant adgenhedledig.

3. Uwch law hyn nid ydym yn anghofio teyrnas ei ogoniant, ond yn hytrach, yn dymuno ar iddo o'i fawr drugaredd, a'i allu, a'i nerth, ein cadw i'r iechydwriaeth sydd barod i'w datguddio yn yr amser diweddaf; i'r "etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflannedig, ynghadw yn y nefoedd." 1 Pet. i. 4.

2 Gan fod *Satan* yn oestadol yn ein hûdo, a thrwy waith y cnawd ar bŷd yn ceisio ein tynnu atto ei hun, a'n dwyn ymmaith oddi tan lywodraeth Crist ein Brenhin nefol, yr ydys yn hyn yn gweddio rhagddo: Ar i Dduw daflu i lawr, a diflannu llywodraeth Satan; attal, a darostwng y cnawd a'i chwantau pechadarus, fel pan ddelo *twysog y byd hwn* attom, allu o hono "gael dim ynom ni." Ioan xiv. 30.

Ac yn gymmaint bod ein Harglwydd grasusol bob amser yn cynnig i ni uchel-fraint ei deyrnas, a bod porth y bywyd bob amser yn agored, gweddiwn rhag dirmyg ar ei râd, rhag esgeulûso'r amser, gyda'r morwynion angall, Matth. xxv. "ac ar ol hynny yn y dydd diweddaf, i ni *alw a churo pan fo rhyhwyr*."

3. Yn drydydd, wrth ddywedyd hyn, rhaid iti feddwl ac ystyried, pa ddiolch'r wyt yn ei dalu i Dduw, am iddo o'th ieuengctid, (pan nad oeddit yn haeddu dim oddiwrtho) dy achub oddi tan law Satan, "a'th waredu allan o fedd-

iant y tywyllwch a'th symmud i deyrnas ei anwyl Fâb; yn yr hwn y mae i ti brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau; ac wrth hynny yn cael dy wneuthur yn gymmwys i gael rhan o etifeddiaeth y Saint yn y goleuni." Col. i. 12, 13, 14.

Ymofyn a'th gydwybod dy hun, pa ddiolch a wyt ti yn ei dalu iddo, am iddo dy alw felly atto ei hun a'th wneuthur yn *aelod o'i gorph ei hun*, a'th feithrin yn ei gynnulleidfa sanctaidd? Pa ddiolch y deli, am iddo beidio a'th adel fel *Twrc* neu *Iuddew*, pan allasai yn gyfiawnaf adel i ti grasu, a difiannu, ar farwor dy anwybodaeth, a'th anghrediniaeth naturiol?

4. *Yn ddiweddaf*, ystyria, pa wedd yr wyt ti yn ymddwyn tuag at ei Yspryd sancteiddiaf, rhag i ti dynnu yn ôl, ac ymadael a'i lywodraeth ac ymwrthod a'i deyrnas. A wyt ti? yn gwrthwynebu yr Yspryd Glân megis yr *Iuddewon gynt*. Act vii. 15. Yn ei *dristau*, Ephes. iv. 30. Neu yn ei *ddiffodd*, 1 Thess. v. 19. A wyt ti yn gwrando ei air, yn ufuddhau i'w gynghorion, fel y gallai ei deyrnas ddyfod attat ti ac iddo yntau reoli ynot?

Ac wrth ymwrando fel hyn, dydi a gei weled dy fôd yn fyr o lawer o bethau anghenrheidiol; hynny fydd raid i ti gyfaddef, a gweddio yn daerach o hynny yng ngeiriau'r prophwyd. "Crea galon lân ynof o Dduw, ac adnewydda Yspryd uniawn o'm mewn; Na fwrw fi ym-

maith oddi ger dy fron; ac na chymmer dy Yspryd sanctaidd oddiwrthyf." Salm li. 10, 11.

Clyw nyni, O Frenhin nefol! Tywallt dy râd, a'th Yspryd ynom, a thrwy ragluniaeth dy ddaioni, gwna i deyrnas dy Fâb ddechreu codi yn ein calonnau: Diflanna nerth y gelyn, a chenfigen y gwrthwynebwyr, fel y gall hi gynnyddu fwyfwy: Galw dy ddewisedig bobl yr *Iuddewon* yn dy amser gosodedig. Cwbl-hâ bob peth yn y môdd a'r drefn a ordeiniaist ti yn dy ddoethineb a'th ragddarbod, hyd oni pherffeithir dy *deyrnas* hon sydd yn y byd hwn—yn gymmysg a phechod, gwendid, a gwrthnysigrwydd; mewn llawn ogoniant, sancteiddrwydd ac anfarwoldeb. Caniatha hyn, drugarog Dâd, er serch ar dy Anwyl Fâb, &c.

---

## PREGETH VII.

A'r ail ar y geiriau: *Deued dy Deyrnas*, &c.

NAC anghofiwch, fy mrodyr, mai'r peth cyntaf, a'r pennaf a ddylem ni eu geisio i'w *sancteiddiad Enw Duw*, a'i wir ogoniant. Dyma'r peth i'n crëwyd erddo, ac at hyn yma y mae ein ymarweddiad i gyd yn pwyso, at ogoneddu Duw. "Beth bynnag a wneloch, gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw." 1Cor. x. 31. O herwydd hyn, yn y weddi berffaith hon a drefnodd Duw yng Nghrist i ni,

hwn ydyw'r deisyfiad cyntaf. Yn y rhwn, chwi a glywsoch pa bethau *dá* yr ydych yn eu dymuno, a pha bethau *drwg* yr ydys yn gweddio rhagddynt.

1. *Y Dá.* Yr holl râdau y gogoneddir Duw ynddynt. Gwybodaeth am Dduw, ei briodoliaethau, a'i weithredoedd; cariad tuag atto ef, ac ofn, a pharch, a gostyngeiddrwydd, diolchgarwch a moliant iddo am ei holl ddoniau, &c.

2. *Y drwg.* Rhag pob peth, a gweithred, ag yr ammherchir Duw a'i enw trwyddynt. Pob rhwystr duwioldeb, &c.

Gwybyddwch hyn, nad yw hyn bossibl i ni ond trwy ei râs; nad yw bossibl i ni ei sancteiddio ef, nes iddo ef ein sancteiddio ni yn gyntaf.

Am hynny, yr ail beth a ddysgodd ein Hiachawdwr i ni weddio am-dano, yw *Dyfodiad ei Deyrnas*; nid amgen, ei *râs* yn bennaf, i reoli yn ein calonnau, canys er i Dduw osod ei Frenhin arnom, &c.

A chan fod Satan yn oestadol yn ein hudo, &c.

Fel hyn y clywsoch y da ar drwg hefyd, yn yr *ail* ddeisyfiad, ynghyd a'r modd y dylem ni fod yn ddiolchgar i Dduw am ei holl ddaioni yn ei lywodraeth arnom, a pha wedd yr ymddygem yn ddyledus tuag atto yntau.

Etto y mae i chwi beth yn ôl i'w ystyried yn y *deisyfiad yma.*

I. Y meddyliau a ddylent fyned ynghŷd a'r weddi.

II. Y gweithrediadau a ganlynent.

I. Pan fôm ar fedr dywedyd hyn, rhaid i ni feddwl ac ystyried sylfaen a chynhaliaeth y deisyfiad, yr achos sy'n peri i ni ddywedyd fel hyn yn ein gweddiau, *Deued dy deyrnas.*

Canys pob rhyw ddeisyfiad o ran eisiau neu ddiffyg y mae. Ac wrth hyn y mae i ni gydnabod ein heisiau, eisiau cael ein llywodraethu ar ôl ewyllys Duw, a'i reol. O naturiaeth nid y'm amgen na gweision pechod tan gaethiwed Satan. Am hynny nid heb achos y dymunwn newid a gwellhau ein cyflwr, a bod tan lywodraeth *budd-iolach* i ni; rheswm i ni weddio ar Dduw ar iddo roddi i ni edifeirwch i gydnabod y gwirionedd, "a bod i ni ddyfod i'r iawn, allan o fagl diafol, y rhai a ddelid ganddo wrth ei ewyllys ef." 2 Tim. ii. 26.

Er nad ydym tan feddiant y tywyllwch, eithr tan râs; etto, tra bôm yn y corph nid ŷm na diofn na diogel; a'r "llew rheibus rhuadwy yn rhedeg oddi amgylch gan geisio y neb a allo ei lyncu." 1 Pet. v. 8. Yr heliwr yma ymhob peth, ac ym mhob lle, yn cuddio ei faglau, gan geisio dal y cyfiawn ynddynt. A'r cnawd yntau yn ein hudo, ac yn ceisio ein dwyn oddi tan lywodraeth Yspryd Duw, i wasanaethu pechod. Fel nad yw'r weddi yn ddiachos,

"*Deued dy deyrnas,*"—Llywodraethed dy râs yn ein calonnau, fel na chaffo'r Ysbryd drwg ddim ynom;—Felly nid yw'r cyngor yn ddireswm chwaith—" Na theyrnased pechod yn eich cyrph marwol i ufuddhau o honoch iddo yn ei chwantau." Rhuf. vi. 12.

Pan fo'm yn cydnabod gweddillion pechod ynom, a dichellion y gelyn mawr ysprydol i'n herbyn, ni a fyddwn gymhwysach i weddio ar ein Brenhin nefawl ar iddo dderchafu a chadarnhau ei *deyrnas* ynom.

2. Megis ag yr ydym yn gweddio trosom ein hunain, felly yr ydym yn meddwl am *orthrymder* ein brodyr a'n cyd-weision, ac yn dwyn galar dros aml lygredigaeth y byd, trwy'r hyn y diaurhydeddir Duw ac y rhwystrir ei frenhiniaeth. A hynny a wna'r neb a ddycco zêl i Dduw, weddio yn wresoccach, gan attolwg iddo ddirymmu nerth pechod, orchfygu'r byd, diflannu teyrnas Satan, a phryssuro ei ddyfodiad ei hûn, i'r hwn yn y diwedd y *darostyngir pob peth, fel y byddo Duw oll yn oll.*

II. Y gweithrediadau a ganlynant ydynt,

1. Ymlawenhau yn nerchafiad teyrnas ei râs yn ein calonnau, ac ymbarottoi i gyfarfod a'i ddyfodiad *yn y cymylau.*

Rhaid i'r deisyfiad yma ddisgleirio, ac ymddangos yn ein buchedd a'n gweithredoedd, onid ê, nid y'w ei ddywedyd ond peth ofer.

Rhaid i ni ddwyn ffrwythau y deyrnas os mynnwn iddi barhau ynom, a'i mwynhau hi yn dragywydd. O ran eisiau hyn, o ran eisiau dwyn *ffrwyth addas i edifeirwch*, (hynny yw, ffrwyth y deyrnas) y mae ein Iachawdwr yn bygwth yr *Iuddewon*. "Am hynny, meddaf i chwi y dygir teyrnas Duw oddiarnoch chwi, ac a'i rhoddir i genedl a ddyçço ei ffrwythau." Matth. xxi. 43. Hynny yw, am iddynt hwy ymwrthod a'u Brenhin, a dywedyd, "Ni fynnwn ni hwn i deyrnasu arnom." Luc xix. 14. Am iddynt wrthod y *Pen-congl faen*, a lládd *Tywysog y bywyd*; Am hynny meddaf, y dygwyd y deyrnas oddi arnynt, ac a'i rhoddwyd i genedl yn dwyn ffrwyth. Pe buasent hwyththau yn ei groesawu yn ei ddyfodiad, yn mynnu ei gael i deyrnasu arnynt, hwy a fuasent yn dwyn ffrwythau hefyd, a'i deyrnas ni ddygasai Duw fyth oddi-arnynt,

Edrychwn ninnau arnom ein hunain rhag i ni fôd yn ddiffrwyth, a cholli o honom yr uchel-fraint hon o'i deyrnas fendigedig. Er maint ein bôst a'n ymffrost yn ein proffes, ein bod yn ddisgyblion i Grist, *a phlant y deyrnas*; etto oni ddygwn ffrwythau addas iddi, fe'n çeuir allan yn y diwedd, megis ag y mae *Crist* yn rhagddywedyd i'r Iuddewon. "Plant y deyrnas, a deflir i'r tywyllwch eithaf, &c. Llawer a ddaw o'r dwyrain a'r gorllewin, ac a

eisteddant gyd ag Abraham. Ond Plant, &c." Matth. viii. 11, 12.

2. Yn nisgwyliad y deyrnas hon y mae i ni fodlonrwydd ymmhob grâdd, a stâd, a chyflwr. Y neb a *daerai*,* ar iddo ddyfod i deyrnasu, sydd yn disgwyl am ei ddyfodiad; yn gwneuthur ei oreu ar ei gael ganddo mewn tangnhefedd; ac yn dysgu gyd a St. Paul, "i fod yn fodlon a phob cyflwr. O herwydd paham, fy anwylyd, medd efe, gan eich bod yn disgwyl y pethau hyn, gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo mewn tangnhefedd, yn ddifrycheulyd, ac yn ddiargyoedd." 2 Pet. iii. 14.

Wrth hyn y mae ein Iachawdwr yn ein cynghori nas gofalem am bethau'r byd; ond "ceisiwch deyrnas Dduw yn hytrach, a'r pethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg: Nag ofna braidd bychan: Canys rhyngodd bodd i'ch Tâd roddi i chwi y deyrnas." Luc xii. 31, 32.

Oblegid hyn dibris gennym flinder a gorthrymderau y byd presennol, a Christ ei hûn yn peri i ni ddisgwyl cystudd, heb ddiddanwch yn y byd ond a gaffom yn y dŷn oddi mewn trwy lywodraeth ei râs a'i Ysbryd ynom. "Gwir yw'r gair. Canys os buom feirw gydag ef, byw fyddwn hefyd gydag ef: Os dioddefwn, ni a deyrnaswn gydag ef." 2 Tim. ii. 11, 12. Ac wrth hyn y cadarnhâe St. Paul eneidiau y disgyblion, gan eu cynghori i *aros yn y ffydd*,

* A daer ddêisyf.

ac mai "trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw." Act xiv. 22.

3. Yn y gobaith hwn yr ydym yn ymbarottoi nid yn unig i ddioddef cystuddiau, ond i farw hefyd, gan wybod hyn, nad i'w angeu, ond cychwynfa, a mynediad i mewn i deyrnas nefoedd: A'n Brenhin nefawl yn prysuro ei ddyfodiad; a ninnau beunydd, awr ac ennyd, yn gweddio, *Tyred Arglwydd Iesu, Tyred ar frys!* Pwy na fyddai barod i'w dderbyn; A Christ ei hun yn peri i ni fod felly? ***Bydded*** *eich lwynau wedi eu hamwregysu, a'ch canhwyllau wedi eu goleu, a chwithau yn debyg i ddynion yn disgwyl eu Harglwydd, pa bryd y dychwel o'r neithior, fel pan ddelo a churo, yr agorant iddo yn ebrwydd. Gwyn ei byd y gweision hynny, y rhai a gaiff eu Harglwydd pan ddêl yn neffro.*

Llawer o honom sydd yn dywedyd y geiriau, *Deued dy Deyrnas,* heb feddwl am ei ddyfodiad attynt, nag yn awr angeu, nag yn nydd y farn. Ei wahodd, y maent a'r *dafod-leferydd,* ond yn eu calonnau, (Duw a'i gwyr,) yn bwrw ei ddyfodiad a'i ddydd ymmhell oddi-wrthynt.

Pa ddyn gwael a wahoddai ŵr mawr i'w dŷ, ac heb fod ganddo ddim yn barod iddo, ie ac efe ei hun heb ganddo ewyllys i'w groesawu? Am hynny, od ydych yn dymuno i'ch Brenhin nefol, i ddyfod a'i deyrnas a'i ogoniant hyd attoch, rhaid i chwi fod yn barod i'w dderbyn a'i groesawu ac i lawenychu yn ei ddyfodiad.

Y neb a fo wir-ewyllysgar i ymadael a'r byd; a fo ganddo, gyda'r Apostol, "chwant i'w ddattod, ac i fod gyda Christ." Phil. i. 23. a'i hyder ar Dduw, a'i obaith yn ei air, a'i addewid; nac yn blino tan gystudd, nac yn ofni marwolaeth; hwnnw a fydd gymmwys ac addas i weddio, a dywedyd fel hyn, *Deued dy Deyrnnas*.

Gwna i ni, nefawl Dâd, fod yn wir ddiolchgar i ti am dy ddaionus ragluniaeth, a pharhâed teyrnas dy allu arnom, i'n cadw, a'n harwain, a'n hamddiffyn yn ein holl fywyd. Gwna i deyrnas dy râs, godi ac ymddangos yn ein calonnau. Diflanna nerth y gelyn, a chenfigen ein gwrthwynebwyr. Gwna i ni yn nýdd a goruchafiaeth dy râd, fod yn fodlon bob un a'i stâd a'i gyflwr, lawenychu yn nerchafiad a disgwyliad dy ogoniant, ymbarottoi i ymgyfarfod a dyfodiad dy Fâb yn y cymmylau; ac yn y cyfamser i ddioddef cystudd, ac i farw, i fod gyda Christ yn ei deyrnas a'i ogoniant, &c.

---

## PREGETH VIII.

*Bid dy ewyllys ar y ddaear, &c.*

HYD yn hyn y bu y ddau ddeisyfiad cyntaf am bethau perthynasol i Dduw, sef, Sancteiddiad ei enw, a dyfodiad ei deyrnas: Y *trydydd* hwn, sydd am wneuthur ei ewyllys:

Yn canlyn yn gymmedrol, megis, modd i gyflawni'r un, sef, sancteiddio Enw Duw; a rhagllwybr neu fynediad i mewn i'r llall, sef, hyfforddiad i'w deyrnas.

Wrth wneuthur ewyllys Duw y sancteiddir ei enw, ac wrth ei wneuthur ar y ddaear y mae i ni brofiad, a chais ar yr ufudd-dod gwblberffaith honno, sydd ddyledus i Grist yn ei deyrnas gyffredinol yn y nefoedd, "pan ddarostyngir pob peth tan ei draed ef, fel y byddo Duw oll yn oll." 1 Cor. xv. 28.

Y deisyfiad hwn sydd wedi ei osod allan mewn cymmhariaeth neu gyffelybiaeth, ar y ddaear, megis ag yn y nefoedd: Ac ynddo y mae *dau* beth addas i ddal sulw arnynt.

I. Y gwaith, gwneuthur ewyllys Duw.

II. Y *pattrwn*, neu'r esampl i'w ganlyn. *Megis ag yn y nefoedd.*

Ewyllys Duw er nad yw ynddo ei hun ond un, megis yn ei hanfod, etto fe a'i dosperthir o herwydd amryw amlygynau, ac effeithiau; ac er ein cyfarwyddo ni yn hyn, y mae'r Ysgrythur lân yn dywedyd am ei ewyllys:

| | |
|---|---|
| Ewyllys | 1. Cuddiedig: *Absoluta*, *Definita*, *Beneplaciti*, *Dispositionis*, *Decreti*. |
| | 2. Datguddiedig: *Signi*, *Revelata*. |

1. Cuddiedig ewyllys Duw yw, trwy'r hwn yn ei derfynedig gyngor, a'i ragwybodaeth, yr ordeiniodd efe wneuthur pob rhyw beth neu

beidio. *De hâc voluntate nec opus est petere, nec rectè aut piè quicquam peteretur. Chem:* (h. y.) "O ran yr ewyllys hwn nid rhaid gweddio, ac nid ellir chwaith yn iawn ac yn dduwiol." Tan yr hwn yr ydys yn ymddarostwng yn unig, nid yn gweddio; am na's gall ein gweddiau ymchwanegu dim tuag at ei gyflawniad ef.

"Ein Duw ni sydd yn y nefoedd, efe a wnaeth yr hyn a fynnodd oll." Salm cxv. 3. "Pwy a wrthwynebodd ei ewyllys ef." Rhuf. ix. 19.

2. Datguddiedig ewyllys Duw ydyw ei sanctaidd athrawiaeth yn ei air, yn yr hwn yr hysbysodd efe i ddynion, ynghylch eu tragywyddol ddedwyddwch, a'u hiechydwriaeth, pa bethau a ddylent eu gwneuthur, a pha bethau ni ddylent.

Yr hwn a elwir gan yr Apostol, "Daionus, a chymmeradwy, a pherffaith ewyllys Duw." Rhuf. xii. 2.

Yn hwn y cynhwysir y Gyfraith, a'r Prophwydi, a'r Efengyl, "cymmaint oll ag a 'sgrifennwyd er addysg i ni." Rhuf. xv. 4. Y pethau oll y mae Duw yn eu gorchymmyn, neu eu gwarafun, eu haddaw, eu hannog, a'u bygwth, &c.

*Non petimus ut Deus faciat quod vult, sed ut nos possimus facere, quod Deus vult. Cyprian.* "Nid ym yn gweddio ar i Dduw wneuthur y-

peth a fynno, ond ar i ni allu gwneuthur y peth y mae Duw, yn ewyllysio."

Y mae hefyd ewyllys, a elwir gan rai "ewyllys goddefiad Duw, neu ewyllys ei weithrediad. *Voluntas Permissionis seu Operationis.*" Canys ni wneir, ac ni ddigwydd dim i Greadur yn y byd heb ewyllys Duw, yn ei wneuthur, neu'n rhoi cennad iddo. Ond yr un ewyllys sydd *Guddiedig*, o ran yr arfaeth tragywyddol, mewn pethau lawer; *Datguddiedig*, o ran y diben, neu'r hyn a ddêl o hono. Am yr hwn y dywedwn *Fiat voluntas tua sicut in nobis, ita & de nobis:* "Gwneler dy ewyllys, megis ynom, felly am danom hefyd:" Ar ôl esampl y disgyblion yn gorchymmyn *Paul* i Dduw yn ei fynediad i fynu i *Jerusalem*, gan ddywedyd, "ewyllys yr Arglwydd a wneler." Act xxi. 14.

Ac yn ddiau ewyllys yw, beth bynnag a archo neb ar eiriau, ac a ddanghoso fod yn dda ac yn gymmeradwy ganddo.' Am hynny, o herwydd i Dduw roddi i ni ei fendigedig air, ac ysbysu, a dangos yn amlwg ei ewyllys ynddo, cymmwys a chwbl-addas i bawb ymddarostwng iddo.

Nid yw ewyllys Duw, fel y dywedais, ond un diymmod, anghyfnewidiol; er hynny, "er addysg fe a'i dosperthir." *Docendi causa,*

| | | |
|---|---|---|
| *Distinguitur in voluntatem vid. Chemn. Har. Evang. c.* 107. | 1. *Credendam* 2. *Faciendam* 3. *Patiendam* | "Ewyllys a Grettir, a Wneir, ac a Oddefir." |

1. Yr ewyllys a *grettir* ydyw, lle bo Dûw yn dangos yn ei air ei feddwl tuag attom.

2. Yr hwn a ddylid ei *wneuthur*, a gynhwysir yn y gorchymmynion.

3. Yr hwn a ddylid ei *oddef*, pan fo Duw yn ôl ei fodlonrwydd ei hûn yn bwrw'r Groes arnom.

Llawer o bethau yn yr Ysgrythur Lân a elwir *Ewyllys Duw*.

1. Troad neu ymchweliad pechadur at Ddaw a elwir Ewyllys Duw. Ezec. xxxiii. 11. "Fel mai byw fi medd yr Arglwydd, nid ymhoffaf ym marwolaeth *(nid ewyllysiaf)* yr annuwiol, onid troi o'r annuwiol oddiwrth ei ffordd:" Hynny yw *ei ewyllys ef*.

2. Sancteiddiad dyn. 1 Thess. iv. 3. "Hyn yw ewyllys Duw sef eich sancteiddiad chwi, ar ymgadw o honoch rhag godineb.

3. Ffydd yng Nghrist, a'r bywyd trwyddi. Ioan vi. 40. "Hyn yw ewyllys yr hwn am hanfonodd i, cael o bob ûn sydd yn gweled y Mab, ac yn credu ynddo ef, fywyd tragywyddol."

4. Cadwedigaeth ei eiddo, a'i adgyfodiad. Ioan vi. 39. "Hyn yw ewyllys y Tâd am hanfonodd i, o'r cwbl a roddes efe imi, na chollwn ddim o honaw, eithr bod i mi ei adgyfodi ef yn y dydd diweddaf." Matth. xviii. 14. "Nid yw ewyllys eich Tâd gyfrgolli'r un o'r rhai bychain hyn."

5. Ufudd-dod. Matth. vii. 21. "Nid pob un sydd yn dywedyd Arglwydd, Arglwydd, a ddaw i mewn i deyrnas nefoedd, ond yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys fy Nhâd, &c." Marc iii. 35. "Pwy bynnag a wnelo ewyllys Duw, *(a ufuddhao iddo)* hwnnw yw fy mrawd i, a'm chwaer, a'm mam i."

6. Y mae Crist yn galw ei ddioddefaint ei hun, Ewyllys Duw. Matth. xxvi. 42. "Fy Nhâd, oni's gall y cwppan hwn fyned heibio oddiwrthyf, na byddo i mi yfed o honaw, gwneler dy ewyllys di." A llawer o bethau neillduol eraill.

Yn y gwaith hwn o wneuthur ewyllys Duw y mae graddau ar ôl dosparthiad gwir ufudd-dod.

Canys y mae un math o *ufudd-dod* i'r efengyl, ac un arall i'r gyfraith. Gorchwyl yr efengyl yw ymegnio o bûr ewyllys, diragrith, ar wneuthur ewyllys Duw; ymegnio meddaf, "yn ol mesur dawn Crist, a'r gras a roddwyd i ni." Eph. iv. 7. Hyn y mae Crist yn ei gymmeryd yn ddilysiant ac yn ei gyfrif yn ufudd-dod, ac hyn a ddëellir yn y weddi.

Ond disgwyliad y gyfraith yw, ei chyflawni hi ymmhob peth ac ymmhob modd ac y gorchymmynwyd; yr hyn nid yw *bossibl* yn y cyflwr ammherffaith presennol. "Canys mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro." Iago iii. 2. Nid oes neb yn gwbl-berffaith, ddi-

bechod. "Os dywedwn ein bod heb bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, &c. 1 Ioan i. 8.

Ond er nad allodd neb erioed (ond Crist ei hun) gyflawni'r holl gyfraith a gwneuthur ewyllys Duw yn berffaith; etto y mae pob gwir Gristion, yn gosod ei galon, gyda *Dafydd*, i gyflawni gorchymmynion Duw hyd y diwedd. Ac yn eu cadw hwynt mewn gwirionedd, er nâs geill mewn perffeithrwydd cyflawn. Ac yno y mae Ysbryd y grâs (yr hwn yn ôl yr addewid, a dywelltir allan yn amlach dan yr efengyl) yn eu diddanu hwynt, ac yn eu cynnorthwyo yn eu hamcanion, i wneuthur yr hyn a orchymmyno efe iddynt ei wneuthur. Ac wrth wneuthur hynny y mae Duw yn derbyn eu hewyllys da a'u hamcan, yn lle cyflawniad y gyfraith: Gan osod haeddedigaethau Crist (yr hwn a gyflawnodd y gyfraith trosom ni) i atteb dros pa beth bynnag a fo diffygiol yn ein hufudd-dod ni.

Ac o herwydd hyn y mae *St. Ioan* yn dywedyd "Nad yw gorchymmynion Duw yn drymmion." 1 Ioan iii. 5. A St. Paul am dano ei hun: "Yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist, yr hwn sydd yn fy nerthu i." Phil. iv. 15. Yr un-rhyw nerth a chynnorthwy'r Ysbryd yr ydym ninnau yn ei geisio yn y deisyfiad yma, fel y gallom wneuthur ei ewyllys mewn gwir ufudd-dod; allu o honom *yn ôl mesur dawn*

*Crist farwhaú ein haelodau*, groeshoelio y cnawd, ei wynniau, a'i drachwantau, adgyfodi i newydd-deb buchedd, rodio yn yr Yspryd, a gorchfygu y bŷd drwy ffŷdd.

Dyma'r gwaith, y gorchwyl y soniais i am dano.

2. Yn y *pattrwn* y mae i ni ystyried, *pwy* ydynt, y rhai a osodant i ni yr esampl yma yn y nefoedd, nid amgen, y Seintiau a'r Angylion yn arbennig: Ar ysgrythur lân yn dangos i ni megis mewn drych yn eglur, y gwasanaeth y maent yn ei wneuthur i Dduw, a'r modd y gwnânt iddo.

Ond chwychwi a ofynnwch, Ai *possibl* i Ddynion daearol, llwythedig a chnawd, gwedi eu hamgylchu a gwendid, gwynniau, a phrofedigaethau, wneuthur ewyllys Duw yn y modd a'r sutt y mae'r Angylion yn y nefoedd yn ei wneuthur?

*Nac ydyw ddim.* Nid ydym yn gweddio chwaith, nac yn disgwyl (ac nid yw Duw chwaith yn disgwyl ar ein llaw) gyflawni cystal ufudd-dod, ar y ddaear, ac y maent hwy yn y nefoedd, mewn graddau a pherffeithrwydd: ond gwir ufudd-dod diragrith, a thebyg i'r eiddynt hwythau. *Megis yn y nefoedd*: hynny yw, nid cyfartal, ond cyffelyb.

A *Choppi* o hyn y mae'r prophwyd yn ei roddi i ni yn ei adroddiadd am yr Angylion. Salm ciii. 20. "Ei Angylion, cedyrn o nerth

yn gwneuthur ei air ef, gan wrando ar leferydd ei air ef.

A'r tebygoliaeth yma rhwng ein ufudd-dod ni ar y ddaear ac ufudd-dod yr Angylion, sydd yn sefyll yn y pethau hyn.

1. Ewyllysgarwch a llonder yng ngwaith yr Arglwydd, yn ei wneuthur gyd a phob parodrwydd fel y mae'r Angylion. Job i. 6. Am ba achos y dywedir eu bod hwy *yn sefyll ger bron Duw* megis yn disgwyl cennadwri, neu pa beth a fynnai'r Arglwydd iddynt ei wneuthur.

Hyn y mae Duw yn ei ddisgwyl gan bob dyn yn ei ufudd-dod, ac wrth hyn y mae ei wobr yn ymddibynnu. "Os gwnaf hyn o'm bodd, y mae i mi wobr." 1 Cor. ix. 17. "Os pregethaf." adn. 16. "Rhoddwr llawen y mae Duw yn ei garu." 2 Cor. ix. 7. Nid yn elûsen yn unig, ond ym mhob gorchwyl arall; nid gwiw gwneuthur gorchwyl yn y bŷd, yn athrist neu trwy gymmell.

2. Bywiogrwydd, a buander, yn dyfod o ewyllysgarwch; nid y'nt hwy yn oedi gwneuthur y peth a orchymmynir iddynt. O herwydd pa ham y mae'r ysgrythur yn eu llunio ag *adenydd*, i arwyddoccau eu brŷs a'u diwydrwydd ar gwblhaû, a dwyn i benn eu gorchwyl. Ac o ran hyn o gyffelybiaeth y dywed y prophwyd Dafydd, "Brysiais, ac nid oedais gadw dy orchymmynion." Salm cxix. 60.

3. Ffyddlondeb, perffeithrwydd calon, ac uniondeb. Yr Angylion a ddychwelant gydag atteb y gwâs yn yr efengyl, Luc xiv. 22. "Arglwydd, Gwnaethpwyd fel y gorchymmynaist," Y cwbl i gyd, a phob peth yn y modd a'r drefn a orchymmynai efe: Ni wnant mo'i ewyllys yn hannerog, ond yn *ffyddlon*, yn glau, ac yn gwbl oll.

Hyn yw ein dyledswydd ninnau, gadw o honom holl orchymmynion Duw, a gwneuthur ei ewyllys yn glau ac yn ffyddlon; nid hyn a hyn a ddewisom ar ôl ein ewyllys ein hunain. Canys "pwy bynnag a gatwo'r gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwngc, y mae efe yn euog o'r cwbl." Iag. ii. 10.

Yn hyn yr oedd i'r *prophwyd*, hyder i sefyll ac ymddangos ger bron Duw, megis un o'i Angylion, a dywedyd, "Yna nim gwaradwyddid pan edrychwn ar dy holl orchymmynion." Salm cxix. 6.

Canmoliaeth Brenin *Josiah* ydoedd; "Ni bu o'i flaen Frenin o'i fath ef, yr hwn a drôdd at yr Arglwydd a'i holl galon, ac a'i holl enaid, ac a'i holl egni, *yn ol* cwbl o gyfraith Moses." 2 Bren. xxiii. 25.

4. Diysgogrwydd: Gorchwyl tragywyddol yw ufudd-dod; bob amser yn ei wneuthur, ac ni dderfydd fyth mo'i wneuthur. Yr Angylion nid ynt un amser yn pallu, nag yn diffygio;

Felly ninnau yn *gwneuthur daioni na ddiogwn*, gwnawn ewyllys Duw yn barhaus, ac yn ddiysgog: "Canys yn ei iawn bryd y medwn, oni ddiffygiwn." Gal. vi. 9.

5. Yn ddiweddaf, o ran rhoi ewyllys Duw o flaen pob peth arall; ni ddylem ni wneuthur dim o'n hewyllys ein hunain ond fel y mae yn gyttûn ag ewyllys Duw, megis ag yn yr Angylion nid oes na gwrth-wyneb, na chwant, na gogwyddiad arall yn y byd, ond i ufudd-hau, a gwneuthur ewyllys eu Harglwydd.

Dyro i ni râs, O Arglwydd Dduw! (ac i'th holl bobl,) i wneuthur dy ewyllys di fel hyn, gyda phob parodrwydd calon, diwydrwydd, ffyddlondeb, a diysgogrwydd; i ddilyn dy ddeddfau, a chadw dy orchymmynion.—Cydffurfia, O Dduw! dy *Eglwys* sydd yn milwrio ar y ddaear, a'r hon sydd yn ogoneddus yn y nefoedd. Prysura'r amser a'r cyflwr i ni yn yr hyn y byddwn fel Angylion yn sefyll ger bron dy orseddfaingc, i'th addoli a'th foliannu gan ddywedyd,—*Y fendith, a'r gogoniant, a'r doethineb a'r diolch, yr anrhydedd, a'r gallu, a'r nerth, a fyddo i'n Duw ni yn oes oesoedd!* Amen.

## PREGETH IX.

A'r ail ar y geiriau: *Bid dy ewyllys ar y ddaear &c.*

CHWYCHWI a glywsoch *ddau* beth nodedig allan o'r geiriau hyn. 1. Y gwaith. 2. A'r modd y gwnelir. Y gorchwyl, gwneuthur *ewyllys* Duw: Y *pattrwn* neu'r esampl i'w wneuthur ar ei ôl: *Megis yn y nefoedd:* Fel y mae'r Angylion yn cyflawni ewyllys Duw gyd a phob parodrwydd, ffyddlondeb, buander, diysgogrwydd, &c.

I'n cyfarwyddo ymmhellach, a chyffroi ein calonnau i ymarfer a'r weddi hon fel y dylem, y mae i ni ystyried *tri* pheth yn ychwaneg.

I. Y *rhag-feddyliau* a ddylai fod gennym pan fôm ar fedr hyn.

II. *Y pethau da'r ydym yn eu ceisio, a'r drwg yr ydys yn gweddio rhagddynt,* yn yr un dymuniad.

III. Ein *dyledswydd* ar ôl hynny, gwedi i ni weddio fel hyn.

1. Cyn dechreu gweddio, rhaid i ni feddwl ac ystyried, beth yw *achos* y deisyfiad hwn. Onid wyddys, mai'n gwasanaeth yw ufudd-dod, a'n dyled-swydd i gyd oll, gwneuthur ei ewyllys? A fwriwn ni ein baich ar Dduw, gan ddymuno, ar iddo ef ein helpu, i wneuthur yr hyn y mae efe yn gorchymmyn i ni ei wneu-

thur ein hunain? A'i cymmwys i ni hyn fel gweision anfocsawl, adael, i'n Harglwydd adwneuthur ein gorchwyl trosom?

Ond yn wir fel hyn y mae; a'n llygrediga̧eth naturiol sy'n peri hyn o anghyd-gordiad. Am hynny rhaid i ni yn gyntaf peth ystyried, a chrâff synniaw ar yr hyn a ddywed y gwirionedd amdanom: "Bod holl fwriad meddylfryd calon dyn yn ddrygionus bob amser." Gen. vi. 5. Nid oes ynom o naturiaeth nag awydd, nag ewyllys, i wneuthur ewyllys Duw. Ie, *awyddus i ddrygioni*: "Gwar-galed, a dienwaededig o galon ac o glustiau; yr ydym yn wastad yn gwrth-wynebu'r Yspryd Glân, megis ein tadau, felly ninnau." Act vii. 51. Ac fel y mae *Aaron* yn achwyn ar yr Iuddewon i Dduw, "Ti adwaenost y bobl, mai ar ddrwg y maent." Exod. xxxii. 22. Ac ar ôl awyddfryd ein calonnau y bydd ein gweithredoedd, onid ettyl Duw ni ei hun, gan dywallt ei râs yn ein calonnau, a pheri meddyliau a deisyfiadau da iddynt.

Wrth gydnabod yr achos hyn, mor angenrheidiol i ni y deisyfiad hwn o'r *weddi*, fe'n gwneir, fel y gweddai i ymbilwyr, yn ostyngedig ger bron Duw: Ac wrth hynny yn gymmwys i dderbyn *grâs* i wneuthur ei ewyllys ef. Canys heb râs ni wneir mor daioni: Ac ni cheir grâs chwaith heb ostyngeiddrwydd. Ca-

nys "y mae Duw yn gwrth-wynebu'r beilchion ond yn rhoddi grâs i'r rhai gostyngedig." Iag. iv. 6. "Arglwydd, clywaist ddymuniad y tlodion: Parottoi eu calon hwynt: Gwrendy dy glûst arnynt." Salm x. 17.

2. Fel y mae'r achos ymmhawb, felly y mae'r weddi yn gyffredinol a thros bawb: Nid ŷm yn ystyried y llygredigaeth anianol yma ynom ein hunain yn unig, ond ymmhawb oll.

A'r ystyriaeth hwn a bâr ynom zêl i Dduw, a throsturi tuag at ein brodyr: Yn y rhai y mae i ni fwy o hyder i weddio.

Pan edrychwn yn ddyfal ar ein anufudd-dod cyffredinol, modd yr ammherchir ewyllys Duw yn hollawl, ac y dianrhydeddir ei enw yn ei ordinhadau; Pwy na ocheneidiai yn ei galon,—pwy na ddygai (gydag *Elias) fawr zêl drος Arglwydd y lluoedd?* gan ymgais, megis ag wrth foddion eraill, drwy daer-weddi yn arbennig, at wîr ufudd-dod?

A'r un modd y dylai'r ystyriaeth hwn beri cyffro ynom, drwy waith cariad perffaith, tros ein brodyr, gan wylo o herwydd eu pechodau a'u drwg-feddyliau hwynt, megis ag yr eiddom ein hunain. Yn yr hyn y mae'r prophwyd *Dafydd* yn esampl i ni. "Gwelais y troseddwyr, a gresynais, am na chadwent dy air di." Salm cxix. 158. *Afonydd o ddyfroedd a redant o'm llygaid, am na chadwasant dy gyfraith di.*

Ymmysg nifer o gynnorthwyon eraill, nad esgeuluswn hyn yn anad dim, sef *gweddio tros ein brodyr*; ar i Dduw o'i fawr drugaredd orchfygu nerth pechod ynddynt hwythau, er gallu o honom i gyd ufudd-hau iddo, a chyflawni ei ewyllys ef yn unwedd.

3. Y mae i ni rag-ystyried yr achos, pa ham y gosodir yr Angylion yn *battrwn* o ufud-ddod, i'w * meddwl, a'u hadrodd yn ein gweddiau.

Canys er addysg i ni y mae hyn hefyd, *Pulchra est commonefactio de eo quod Paulus dicit.*

1. "Rhybudd teg o hyn a ddywaid yr Apostol." Col. i. 19, 21. "Oblegid rhyngodd bodd i'r Tâd, drigo o bob cyflawnder ynddo ef, *(h. y.) yng Nghrist.* Ac (wedi iddo wneuthur heddwch trwy waed ei groes ef) trwyddo ef gymmodi pob peth ag ef ei hun, trwyddo ef, meddaf, pa un bynnag ai pethau ar y ddaear, ai pethau yn y nefoedd: A chwithau y rhai oeddych ddieithriaid a gelynion mewn meddwl, trwy weithredoedd drwg, yr awr hon hefyd a gymmododd efe."—*Yn gyntaf peth;* pan weddioch,-nac anghofiwch y cymmod, heb yr hwn nid oes na ffordd na dyfodfa at y Tâd.

2. *Futurum unum cœtum,* &c. Meddyliwn, "na bydd yn y diwedd *ond un gynnulleidfa* o ddynion, a'r Angylion bendigedig," "O herwydd hyn yr wyf yn plygu fy ngliniau at Dâd ein Harglwydd Iesu Grist, o'r hwn yr henwir

* Synnied a'u datgan.

yr holl deulu yn y nefoedd ac ar y ddaear." Eph. iii. 14, 15.

Yr un teulu ydym, a'r un gwasanaeth y mae Duw yn ei ddisgwyl ar ein llaw: Gweddiwn, allu o honom ei gwblhau.

3. *Nos futuros (isángélows.)* "Y byddwn yn gyd-radd, ac yn gwbl-debyg i'r Angylion," fel y dywaid ein Iachawdwr. "Yn yr adgyfodiad, nid ydynt nag yn gwreicca, nag yn gwra; Eithr y maent fel Angylion Duw yn y nef." Matth. xxii. 30.

Yn gymmaint, gan hynny, a'n bod ni yn aelodau o'r un *corph*, gyda'r Angylion, pen yr hwn yw *Crist*, a'n bod i gyd yn gyd-weision o'r ûn teulu, yn yr hwn y mae Crist yn Dâd ac yn Arglwydd, "*Pa ryw fath ddynion a ddylem ni fod, mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb.*"

Oni ddylai hyn gyffroi ein calonnau i'w dynwared, fel y byddem yn y fuchedd hon hefyd yn debyg i'n cyd-weision: fel, pe bai *bossibl*, na bôm yn ôl mewn un ddawn, i ymorchestu ac ymegnïo, ar wneuthur ewyllys Duw gyda phob parodrwydd, ewyllys-garwch, a ffyddlondeb, fel y maent hwythau?

Ond fe a ddywaid rhyw un: Nid yw hyn *bossibl* i ddynion llygredig ar y ddaear fod fel Angylion Duw, yn ddifrycheulyd, ddibechod: Nid yw ewyllys Duw chwaith i'n gwneuthur felly tra bôm yn ein daearol dŷ o'r babell hon,

wedi ein gwisgo a llygredig gnawd am danom:
I ba beth y dymunwn beth *amhossibl?* Onid ofer
i ni weddio fel hyn, geisio gwneuthur, ewyllys
Duw yn erbyn ei ewyllys? Canys nid yw ewyllys Duw i'n gwneuthur mor berffaith mewn
ufudd-dod ar y ddaear, fel y mae'r Angylion
yn y nefoedd.

Myfi a attebaf: Ofer yn ddiau a fyddai ceisio pethau *ammhossibl*, oni bai rhyngu bodd i
Dduw ei rhoi i'r rhai a'u ceisiant. Ond fe a
rydd Duw gyflawniad ei ewyllys i'r rhai a'i
gofynnant, yn ddechreuedig yn y byd hwn, yn
gyflawn orphennedig yn y byd a ddaw. "Awn
rhagom at berffeithrwydd," medd yr Apostol,
Heb. vi. 1. Rhaid ymestyn, fel y gwnaeth
yntau, at y pethau o'r tu blaen, er na's gallom
etto eu cyrhaeddyd. Oni ymestynwn attynt yr
awrhon, ni chawn ni fyth ymaflyd ynddynt.

Nid oedd *St. Paul* yn bwrw ddarfod iddo
gael gafael; Ond "yn cyrchu at y nôd am
gamp uchel alwedigaeth Duw yng Nghrist
Iesu." Phil. iii. 13. Felly ninnau nid ŷm yn
disgwyl yma gael ein perffeithio, ond ceisio
myned ymlaen tuag at berffeithrwydd.

Y mae rhai pethau a fyn Duw fod, ag etto
ni ddylem ni mo'u dymuno. Ewyllys Duw
ydyw marw o'n rhieni, ac etto y mae yn cyfrif
yn bechod, i'r neb a ewyllysiai hynny. Ei
ewyllys ef yw, fod ei *Eglwys* tan y groes, a'i

ethoiedigion mewn blinder a chystudd: Ac etto nid ydym ni yn gweddio, ar iddo fwrw ei *groes* arnom, ond yn hytrach ei thynnu hi oddiwrthym.

Yn y gwrthwyneb, ni fynn Duw roddi i ni tra fôm yn y bŷd hwn gwbl ymwared oddiwrth bechod a phob drwg: ac etto yn peri i ni ddymuno, a cheisio, a gweddio, am ryddhâd i ni ein hunain, a llwyr ddistryw i'w elynion.

Felly, er nas gallwn wneuthur ewyllys Duw mor berffaith yn y modd a'r sutt y mae'r Angylion yn y nefoedd; etto rhaid i ni ymegnïo ar wneuthur ein goreu, a thrwy gynnorthwy ei râs ymestyn, a myned rhagom at berffeithrwydd. Rhaid i ni ddechreu yma, a chynhyddu fwy fwy nes i ni gyrhaeddyd ein perffeithiad yn y nêf. Ymhellach, er bod ein Duw yn rhoddi i ni râs i ddarostwng y cnawd, a gorchfygu mewn rhyw fesur ein chwantau pechadurus, fel y gallom yn ôl mesur dawn Crist wneuthur ei ewyllys; etto fe a fydd pechod, a llygredigaeth, fyth yn ymdrechu, ac wrth hynny ein ufudd-dod fydd ammherffeith.

Er ein bod yn ymdrech, ymorchestu, ymegnïo, ac yn gosod ein calonnau ar wneuthur ei ewyllys etto'r ydym yn fyrr o lawer, yn enwedig, yn y modd y gwnelom: "Mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro." Iag. iii. 2. "Seith-waith y syrth y cyfiawn." Dihar. xxiv. 16.

Ie, wrth wrando'r *gair*, *cymmuno*, *gweddio*, y mae profedigaethau, diffygion, amryfuseddau, yn ymlusgo i mewn, yn lefeinio'r aberth, yn suro'r gwasanaeth, a'i wneuthur yn anghymmeradwy.

A hyn hefyd a ddylai ychwanegu ein gostyngeiddrwydd, fel na's gallom orfoleddu mewn un weithred dda a wnelom: Na thybied fod ein cyflwr ysprydol yma yn berffaith, ac yn safadwy. Am hynny pa mwyaf a chryfaf fo'r grâs ynom, cymmwysach fyddwn i'r gwasanaeth hwn, a rheitiach fyth i ni weddio, *Gwneler dy ewyllys ar y ddaear*, &c. Parottöa, O Arglwydd, ein calonnau, i weddio arnat, a phâr i ni feddwl y pethau a fônt er ein llês, ag yn addas i'th wasanaethwyr; a dyro i ni râs i wneuthur ar ôl dy ewyllys a'th orchymmyn, &c.

---

## PREGETH X.

A'r drydydd ar y geiriau: *Bid dy ewyllys ar y ddaear megis y mae yn y Nefoedd.*

DYMA'r *drydydd* waith yr wyf yn dyfod attoch yn y geiriau hyn i'w hyspysu i chwi: Er hynny na thybyged neb fy mod i yn sefyll yn rhy-hir yn yr un man, yn rhy-helaeth ar un peth mor eglur, mor gydnabyddus i bawb; pwy nis gwyr, mai ei ddyledswydd

yw—Gwneuthur ewyllys Duw, a bod yn ufudd iddo? Swm y cwbl, medd y *Pregethwr*, yw, "Ofna Dduw, a chadw ei orchymmynion: Canys hyn yw holl ddyled dyn." Preg. xii. 13. Hyn yw ein dyled yn siccr, gwneuthur ewyllys Duw, a chadw ei orchymmynion; ond yn hyn yr ym ni fyth yn ddyled-wyr: ac ni thalwn yn ein bywyd gymmaint, ac yn y modd, y mae'n ddyledus arnom.

Och! na fyddai afraid i mi eich addysgu pa beth yw ewyllys Duw o'ch plegid, pa fodd y dylech ei wneuthur. "Canys nid yw'r wybodaeth hon gan bawb." 1 Cor. viii. 7. A phe bai, etto, fe a fyddai rhaid i mi gyffroi eich meddwl puraidd, trwy ddwyn ar gôf i chwi, fel y byddo gôfus gennych y geiriau a dderbyniasom gan yr Arglwydd, a'r gorchymmyn a roddes efe ei hun i ni.

Ynghyd a'r gwaith, a'r *pattrwn*, a osodwyd i ni yn y deisyfiad yma, (y gorchwyl, gwneuthur *Ewyllys* Duw, a'r sutt a'r modd y mae i ni ei wneuthur, *ar y ddaear, megis ac yn y nefoedd*: gyd a phob ewyllysgarwch, a pharodrwydd, yn llonn gennym fod yn wiw gan Dduw dderbyn ein gwasanaeth, a ninnau yn weision anfuddiol, annheilwng iddo:) Ynghyd a hyn, meddaf, myfi a hysbysais yn neillduol y rhag-feddyliau a ddylai fod ynom, pan fôm yn fedr Dywedyd hyn. Y mae etto yn ôl wrth

y dosparthiad, a'r addewid cyntaf. I. Deisyfiadau da neillduol a gynhwysir yn y geiriau hyn. II. A'r gweithredoedd da, y mae Duw yn disgwyl ar law'r dyn a ddywedai hyn.

1. Yr ydym wrth hyn yn dymuno ar i Dduw trwy ei râs a chynhyrfiad ei Yspryd, *ostwng* ein calonnau at ei sancteiddiaf gyfreithiau, a'u gwneuthur yn awyddus, i ddysgu, a chydnabod, a gwneuthur ei ddatguddiedig ewyllys. Fal hyn y gweddiai y *Prophyd Dafydd.* "Gostwng fy nghalon at dy dystiolaethau." Salm cxix. 36. "Gwna i mi ddeall, a chadwaf dy gyfraith, gwna i mi gerdded yn llwybr dy orchymmynion. v. 34, 35.

Deisyfiadau da, gwreiddyn ynt neu ddechreuad gweithredoedd da: a mam ufudd-dod yw tuedd meddwl, ac awydd-fryd calon, tuag at dystiolaethau Duw. Nid yw *bossibl* i ni wneuthur ewyllys Duw, oni bydd ynom wybodaeth o hono, oni bydd ynom ewyllys, a serch, ac ymgais, ar ei wneuthur. Nid i'w *bossibl* i ni chwaith fod felly, a'n calonnau wedi eu gostwng tuag at Dduw, ac yn awyddus i ufudd-dod; oni chawn ni, trwy ddymuniad, a thaer weddi, ganddo. "Canys Duw ei hun yw'r hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu, o'i ewyllys da ef." Phil. ii. 13.

2. Yn ail, er mwyn hynny, nyni a attolygwn i Dduw ar iddo ddarostwng a diflannu nerth ein llygredigaeth, trwy'r hwn ein cildynnir

oddiwrth ufudd-dod, ag ein rhwystrir beunydd, rhag gwneuthur ewyllys Duw fel y dylem: Ar iddo roddi i bob un o honom râs i ymwadu ag ef ei hun, a'i ddilyn ef; i ymwrthod a'n trachwantau pechadurus, i fod yn ddilynwyr Duw, fel plant anwyl: Yn ddisgyblion i Grist, adnabyddus wrth ufudd-dod. "Wrth hyn y gwybydd pawb mai disgyblion i mi ydych, os bydd gennych gariad i'w gilydd." Ioan xiii. 35. (h. y.) os cedwch fy ngorchymmyn. Ond nid yw hynny *bossibl* i'r neb ni ymwedu ag ef ei hun, fel y dywaid ein Iachawdwr ei hun. Canys *efe* a ddywedodd wrth bawb: "Os ewyllysia neb ddyfod ar fy ôl i, ymwaded ag ef ei hun, a choded ei groes beunydd, a dilyned fi." Luc ix. 23.

Nyni a ddymunwn hyn yn gyffredinol, gan weddio, nid trosom ein hunain yn unig, a'n **Deiryd*, ond tros bawb oll ar yr holl ddaear, ar i Dduw roddi ei râs i bob dyn fel y gallo efe fod yn gadwedig. *Ewyllys Duw yw*, medd yr Apostol, *bôd pob dŷn yn gadwedig;* (hynny yw) o'n rhan *ni*, ei ewyllys ef yw, ar i ni geisio, a gweddio am gadwedigaeth pob rhyw ddŷn. Yn hyn y mae ei reswm yn sefyll, yn ein hannog, "o flaen pob peth, i wneuthur ymbiliau, gweddiau, a deysyfiadau, a thalu diolch dros bôb dŷn, dros frenhinoedd a phawb sydd mewn goruchafiaeth, fel y gallom ni fyw yn llonydd,

* Cyfathrach, Perthynas, neu Deulu.

ac yn heddychol mewn pob duwioldeb a gonestrwydd, canys hyn sydd dda a chymmeradwy ger bron Duw ein ceidwad, yr hwn sydd yn ewyllysio bod pob dyn yn gadwedig a dyfod i wybodaeth y gwirionedd." 1 Tim. ii. 1, 2, 3. Attolygwn iddo droi ein calonnau ni i gyd, a chalon pob rhyw ddyn oddiwrth bechod, fel y gallo fod yn ôl ei ewyllys yn ufudd wâs, dâ, a ffyddlon iddo, ac yn y diwedd yn gadwedig.

4. "*Monemur petere ut conformitas inter Ecclesiam Angelorum & hominem inchoetur in hac vitâ.*" *Chem.* "Yn hyn y mae i ni rybudd i weddio ar i Dduw yma ddechreu cydffurfiad ei eglwysi; i'r hon sydd ar y ddaear ddechreu, ac ymegnio fod yn debyg ir llall sydd yn y nefoedd;" Ar iddo gadarnhau ein cyflwr yng Nghrist Iesu, a'n gwneuthur beunydd yn debyccach i'r Angylion sanctaidd, tra fôm yma yn milwrio yn beryglus, a phrysuro'r amser ar cyflwr, pan gaffom ein perffeithio, i wneuthur ei ewyllys yn ddiymwâd, ddirwystr, mewn gogoniant tragywyddol."

5. Yn gymmaint a'n bod yn y filwriaeth hon o fywyd yn disgwyl erlid a chystudd, a dwyn y groes, os mynnwn fod yn ddisgyblion i Grist Iesu: (Canys, "Ie, medd yr Apostol, a phawb ar sy'n ewyllysio byw yn Dduwiol yng Nghrist Iesu: a erlidir." 2 Tim. iii. 12.) "*Petimus Patientiam, &c.* Yr ydym yn gweddio am am-

mynedd," allu o honom ddywedyd gyda'n Iachawdwr yn ei ddioddefaint. "Fy Nhâd os y'w *bossibl* aed y cwppan hwn heibio oddiwrthyf; Etto nid fel yr ydwyf fi yn ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti." Matth. xxvi. 39.

A thrachefn, "Fy Nhâd, onis gall y cwppan hwn fyned heibio oddi-wrthyf, na byddo i mi yfed O honaw, gwneler dy ewyllys di." adn. 42. Gwna ninnau, Arglwydd, yn foddlon, ufudd, ddaronstyngedig i'th ewyllys. Pa un bynnag a fynni i ni fod, ai tlawd, ai cyfoethog, hwylus, ai afiachus, rhydd, ai caeth; dyro i ni mewn hawddfyd, ddiolchgarwch a gwirlawenydd; mewn adfyd, ddioddef-garwch, a bodlonrwydd mewn pob cyflwr; gan wybod a chyfaddef mai wrth ewyllys Duw y digwydd pob peth i ni.

"Wele, dedwydd yr ydym yn gadael, (neu'n cyfrif) y rhai sy ddioddefus. Chwi a glywsoch am amynedd Job, ac a welsoch ddiwedd yr Arglwydd; oblegid tosturiol iawn yw'r Arglwydd a thrugarog." Iag. v. 11. Gweddiwn ninnau am ei dosturi a'i drugaredd, am y dedwyddwch hwn, y mae adfyd yntau yn gweithio drwy ewyllys Duw i bawb a'i carant. Fel hyn y mae *St. Paul* yn gweddio tros y *Colossiaid*, ar i Dduw eu "nerthu hwy a phob nerth, yn ôl ei gadernid gogoneddus ef, i bob dioddefgarwch, a hir-ymaros, gyda llawenydd." Col. i. 11.

6. Yn ddiweddaf, chwi a wyddoch y modd y mae *Satan*, a'n llygredigaeth, yn ein cynhyrfu i wneuthur pob peth yn erbyn ewyllys Duw; yn ein rhwystro, gyda'r *Apostol*, i wneuthur y pethau yr ydym yn eu hewyllysio yn ôl ewyllys Duw. "Canys yr hŷn yr wyf yn ei wneuthur nid yw fodlon gennyf, canys nid y peth yr wyf yn ei ewyllysio, hynny yr wyf yn eu wneuthur, eithr y peth sydd gâs gennyf, hwnnw, &c." Rom. vii. 15. Gweddiwn ar i Dduw geryddu Satan, dynny ymaith holl rwystrau ufudd-dod a duwioldeb, a thrwy Iesu Grist ein Harglwydd ein *gwared* yn hollawl "oddiwrth gorph y farwolaeth honno." Rom. vii. 24.

Chwychwi a wyddoch mor gildynnus yw naturiaeth dŷn, mor ammharod i wrando ac i dderbyn gair Duw, yn yr hwn y datguddir ei ewyllys, yn ammheüus i'r gwirionedd, yn ymryson ynghylch, ac yn erbyn y pethau a ddylent eu credu: Gweddiwn ar iddo dynny ymaith, a throi oddiwrthym, a'n *Heglwysi*, y fâth gyndynrwydd ac anghrediniaeth. Ac yn y gwrthwyneb, (megis ac yr ysbysodd efe ei ewyllys yn ei air, ac a'i cadarnhaodd trwy lŵ,) roddi i ni i gyd "Y glust yn clywed, a'r llygad yn gweled, Yr Arglwydd a wnaeth bob un o'r ddau." Dihar. xx. 12.

Chwi a wyddoch mor esgeulus, ac mor ddiog ydym yng ngwaith yr Arglwydd, yn bared i

gymmeryd esgus o bob peth er gadael ei ewyllys ef heb ei wneuthur. Gweddiwn rhag y bai echryslawn hwn, gan feddylied, beth a ddywed Crist am y gwâs diog. " A'r gwâs hwnnw a wybu ewyllys ei Arglwydd, ac nid ymbarottodd, ac ni wnaeth yn ôl ei ewyllys ef, a gurir a llawer ffonnod." Luc xii. 47.

Chwi a wyddoch mor annioddefus ac mor ffrom yw llawer un tan y groes, yn gwingo yn erbyn y symbylau, yn grwgnach, ac heb ddarostwng i ewyllys Duw yn hyn hefyd. Gweddiwn gan hynny rhag annioddef-garwch, anaddas i Gristianogion, yn enwedig, a ni yn gwybod fod, ie, *holl wallt ein pennau wedi eu cyfrif; Ac na syrth un o honynt i'r ddaear heb ewyllys ein Tâd nefawl;* Pa faint mwy y gweryd efe ei blant sydd mewn amynedd ac hirymaros yn disgwyl iechydwriaeth?

2. Yr ail beth yw'r gweithredoedd, a'r ymarfer a ddylai ganlyn hyn o'r weddi. Ceisiwn wneuthur yn ddiau y peth yr ydym yn ei ddymuno.

1. " Profwn beth yw daionus, a chymmeradwy, a pherffaith ewyllys Duw." Rom. xii. 2. Dysgwn, a cheisiwn wybod, fel y gallom ei wneuthur. Bydded pob un yn siccr, ac yn llymwâd yn ei feddwl ei hun, fôd y peth y ... yn ei wneuthur yn gyttûn a chyfraith ...r, ac yn ôl ei ewyllys. Anwybod o gyf-

raith teyrnas, neu ymerodraeth daearol, ni wna neb yn esgusodol a wnelo yn erbyn y gyfraith: Am hynny, mor ddyfal ac mor ofalus y chwiliwn y llyfrau, ac y ceisiwn gyngor y dysgedig, rhag i ni un amser droseddu a gwneuthur yn erbyn y gyfraith, rhag dyfod **ffin* neu gosp arnom yn ddi-wybod. Pa faint mwy gofalus, y dylem ni i gyd fod, yn y pethau a berthynent i'n heneidiau? yn yr hyn os troseddwn mewn modd yn y bŷd, ni fydd mor esgus ond trwy edifeirwch; am yr hyn y bŷdd y gosp yn dra-ffyrnig; taflu y troseddwyr i dân uffern, "lle nid yw eu prŷf hwynt yn marw, na'r tân yn diffodd." Marc ix. 48.

Nid yw hyn ond rhagrith, fel pe gwatworid Duw, ddywedyd o honoch, *Gwneler dy ewyllys*, heb ymegnïo ar ei wneuthur. Ymogelwch gan hynny farnedigaeth y Pharisæaid, *Rhagrithwyr: Yn ofer i'm anrhydeddant.* Gwae chwi, os dywedyd hyn a wnewch yn unig, heb geisio gwneuthur ewyllys Duw.

2. "Na rodiad neb yn afreolus." 2 Thess. iii. 6. Eithr pob un yn ei alwedigaeth ar hyd ffordd yr Arglwydd, ar ôl rheol yr alwedigaeth a drefnodd Duw iddo: gan ymddwyn nid yn unig yn ei alwedigaeth cyffredin, fel y gweddai i Gristion, mewn uniondeb a sancteiddrwydd; ond pob un yn ei gyflwr priodol, yn ceisio gogoneddu ei Arglwydd fel gwas ffydd-

* Dirwy.

lon ymmhob gorchwyl, "fel y rhoddwyd iddo ras yn ôl mesur dawn Crist." Eph. iv. 7.

3. Coded pob un ei groes heb rwgnach: bydded ddioddefgar mewn cystudd, a blinfyd, pa fodd bynnag y gwasgant arno. Amser gweddi yn arbennig yw, pan fo neb mewn adfyd: Ac i'r amser nid oes un weddi gymmhwysach na hon, *gwneler dy ewyllys.* Cymmered y prophwyd *Dafydd yn esampl*, a dyweded, fel y gwnaeth yntau, pan fo yn gyfyng arno, "Wele fi, gwnaed yr Arglwydd i mi fel y byddo Da yn ei olwg." 2 Sam. xv. 26.

4. Holed ei gydwybod ei hun, pa zêl sydd ganddo yn ei holl ymarweddiad i ddynwared yr Angylion.

1. Ar ddirgeledigaethau yr Efengyl "y mae'r Angylion yn chwennychu edrych." 1 Pet. i. 12. Gwnawn ninnau yr un môdd.

2. "Yr Angylion a weiniasant i Grist, yn ei *demptasiwn.*" Matth. iv. 11.

"Yn ei Ing, neu ymdrech meddwl." Luc xxii. 42. Ei escynniad, Act i. 10. "Felly y dylem ninnau, ym mhôb peth, ar a allem erddo.

3. Yr Angylion a lawenychent o achos eu cyd-weision. "Y mae llawenydd yng ngwydd Angylion Duw, am un pechadur a edifarhao." Luc xv. 10. Ac yn ddrwg tros ben ganddynt edrych ar anufudd-dod, a dianrhydeddu Duw,

drwy ammherchu a throsseddu ei ewyllys. Felly y dylem ninnau fod yn hôff gennym, edrych ar y pethau yr anrhydeddir Duw ynddynt. "Yn llawenychu, gyd 'r Apostol, wrth weled yr Eglwys, a chadernid ei ffydd yng Nghrist." Col. ii. 5. Yn ddrwg gan ein calonnau, weled amdler drygioni yn y bŷd, a bod gormodd (ysywaeth,) yn rhodio yn afreolus, yn erbyn ewyllys Duw, a'i sanctaidd gyfreithiau.

Dyro i ni râs, O Arglwydd! i weddio fel y dysgaist, ac i fyw fel y mae dy weddi yn ein hannog, gan geisio beunydd, wneuthur dy ewyllys di, ar air a gweithred, megis yn y nefoedd, felly ar y ddaear hefyd. Gwrando Arglwydd ein gweddiau, er mwyn dy Fâb, yr hwn a 'ddysgodd i ni weddio, i'r hwn gyd a thi a'r Ysprydd Glân y bo'r holl anrhydedd a'r gogoniant. Amen.

---

## PREGETH XI.

Luc xi. 3. *Dyro i ni o ddydd i ddydd ein bara beunyddiol.*

HYD yn hyn, yn ôl trefn y weddi, chwychwi a glywsoch y pethau ynddi sy berthynasol i Dduw, ac eglurhâd ei ogoniant. Megis ag y mae yn eglur ym mhob un o'r deisyfiadau, a Duw yn cydnabod ei eiddo ym mhôb un o

honynt. Dy Enw, Dy Deyrnas, Dy Ewyllys di. Yn y rhain yr ydym yn dymuno allu o honom ni wneuthur y pethau perthynasol i Dduw.

Yn y fan yma yr ydym yn dechrau, ac o hyn allan, yn myned rhagom i weddio trosom ein hunain, am bethau anghenrheidiol i ni tra fôm yn y *corph a'r babell hon*. Dyro i ni,—maddeu i ni,—na arwain ni,—gwared ni. *Petimus quæ pro hujus vitæ miseriâ nobis necessaria sunt.* "Yr ydym yn dymuno ar Dduw, ar iddo roddi i ni, y pethau a fônt anghenrheidiol i ni o ran trueni a gresyndod, y bŷd presennol hwn."

*Quæ quasi secunda tabula est orandi formula.* "Megis ag y rhoddodd Duw ei orchymmynion i *Foesen* gwedi eu hargraphu ar Ddwy lêch:" Yn *y gyntaf*, yr oedd wedi cynnwys ein dyledswydd tuag at Dduw, y pethau a berthynant iddo ef ei hun; Yn *yr ail*, gorchymmynion o'n dyled i ddynion, am bethau perthynasol i ni ein hunain, rhyngom a'u gilydd: Felly y trefnodd Crist yn ei weddi, gan ddysgu i ni geisio o flaen dim arall, yn y rhan gyntaf o'i weddi, *Deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef;* Ac wedi hynny, Fara, a Maddeuant, ac Amddiffynniad, ar i Dduw ein Tâd nefawl roddi i ni y pethau anghenrheidiol hyn yn ychwaneg.

Ond, megis, a ni yn gweddio am bethau perthynasol i ogoniant Duw, y dymunwn fen-[illegible] i ni ein hunain, yn yr hyn y datguddir

ac eglurheïr ei ogoniant ef: Felly wrth weddio am y bendithion hyn i ni ein hunain, yr ydym hefyd yn *edrych*, a hynny yn ddirfawr, at ogoniant Duw. Canys i'r pwrpas hwnnw, er gogoniant i Dduw, y dymunwn eu mwynhau.

Oni pherthyn i ninnau, fôd gennym y rhadau a'r bendithion yn yr hyn yr eglurheir ei ogoniant ef, sef, sancteiddiad ei Enw, ufudddod i'w Deyrnas, a'i ewyllys? Ac yn y gwrthwyneb, Oni pherthyn iddo yntef, a'i ogoniant, ein bod ninnau yn cael, ac yn derbyn ar ei law ef, gynhaliaeth, faddeuant, waredlad, ac amddiffyniad? A'r deisyfiadau hyn nid ŷnt amgen nag *ymddibynnu* wrth y lleill o'r blaen, megis amlygiad o'r moddion a'r sutt ar ein hufudddod ni, a'n dyledswydd, yn sancteddio Enw Duw.

Canys, yn y rhai cyntaf, y gweddiwn am râs i wneuthur ewyllys Duw, i ymddarostwng i Deyrn-wialen ei frenhiniaeth ef, *i sancteiddio ei Enw:* Yn y rhai diweddaf hyn, y gweddiwn am yr holl fendithion, yn yr hyn, a thrwy'r hyn, ein cynhelir, ac ein nerthir, i wneuthur hynny, i ddangos ac i gwblhau ein hufudd-dod. O herwydd yr ydym yn sancteiddio Enw Duw, yn ymddarostwng i'w frenhiniaeth, yn gwneuthur ei ewyllys, pan fwriom ein baich ar yr Arglwydd, gan ymddiried i ragluniaeth ei ddaioni ef, am fwyd, a dillad, ar holl bethau *anghenrheidiol* i'r bŷd trangcedig hwn; gan ym-

ddiried yn ei nerth, ei râs, ai allu, i'n cryfhau yn erbyn profedigaeth, ac i'n gwaredu rhag y drwg.

Yn y rhai cyntaf, y gweddiwn am râs, i fôd yn barod ac yn ewyllys-gar bob amser, i *sancteiddio* Duw yn ein calonnau, ym mhôb cyflwr; yn y rhai hyn y gweddiwn am gynhaliaeth a *chomffordd*, fel y gallom fyw yn gyssurûs i wneuthur hynny.

Yn y deisyfiad hwn y mae i ni y pethau hyn i'w ystyried yn neillduol.

1. *Quid?* Pa beth—yr ydym yn ei geisio? *Artos.**

2. *Quale?* Pa fath,—pa ryw fara a ddymunem? *Epiowsion.*†

3. *Cujus?* Eiddo pwy ydyw? *Hêmôn.* Yr eiddo ein hunain.

4. *Quando?* Pa bryd,—a thros pa hyd, neu amser? *Tò cath' hemêran.*‡

5. *Quibus?* I bwy—yr ydys yn ei geisio? *Hêmîn.*§

6. *A quo?* Gan bwy—yr ydys yn ei ddisgwyl? *Patêr en owranoîs.*‖

7. *Quomodo?* Pa fôdd y dymunem ei dderbyn? *Didow. Trwy rodd.*

1. Am *fara*, nid rhaid i chwi ddywedyd o honof wrthych pa beth ydyw: Ond gwy-

* Bara. † Beunyddiol.

‡ Heddyw,---O Ddydd i ddydd. § Ini.

‖ Gan ein Tad yr hwn sydd yn y Nefoedd.

byddwch hyn, fod yn arferol cymhwyso'r gair, yn enwedig yn yr ysgrythur Lân, i arwyddocâu llawer o bethau.

1. Fe ai cymmerir *(Meton:)* yn lle'r ŷd, o'r hwn y gwneir y Bara. "Nid oedd bara yn yr holl wlâd." Gen. xlvii. 13. (h. y.) ŷd. Salm civ. 14, 15. "Fel y dycco fara allan o'r ddaear, a gwin, ac olew." Nid yw'r ddaear yn dwyn bara a gwin yn ebrwydd, ac yn ddigyfrwng, yn y dull a'r gosgedd y bwytteir ac yr yfir hwynt, ond yr ŷd a'r grawn; o'r rhain drwy lafur a chelfyddyd dyn y gwneir y gwin a'r bara.

2. F' ai cymmerir *(Synecd:)* "yn lle pôb math ar fwydydd, Felly," 2. Bren. vi. 22. Yr arlwy fawr a roddwyd o flaen y Syriad wrth air y prophwyd Elisha, a elwir *Bara a dwfr.* A'r un môdd yn yr Efengyl, holl ddefnydd, neu arlwy gwledd y Pharisæaid, a wahoddodd yr Iesu, a elwir *bara'n* unig. "A bu, pan ddaeth efe i dŷ un o bennaethiad y Pharisæaid i fwytta bara."—Luc xiv. adn. 1, 15. "Gwyn ei fyd y neb a fwyttao fara yn nheyrnas Dduw," (h. y.) *fructur Convivio. L. Br.* "Y neb a gaffo ran o'r wledd ysprydol, dragywyddol honno."

Ffrwyth y pren a elwir Bara, *Distrywiwn y pren ynghyd a'i fara. Jeremi* xi. 19. (h. y.) ei ffrwyth. *A llaeth geifr.*" *Diarhebion* xxvii. 27. "A phorthiant anifeiliaid." Salm. cxlvii. 9.

3. Fe ai cymmerir yn lle pob math a'r gynhaliaeth, pob peth yn cynnal bywyd, pob *help* i'n cadw ni yn fyw: Megis arfer o bob celfyddyd, neu alwedigaeth gyfreithlawn, a maethâd, meddyginiaeth, &c. Y gwr doeth am hwswi dda, "Tebyg yw hi i long marsiawndwr," *portans panem de longe.* Dihar. xxxi. 14. *Yn dwyn ei bara*, neu ei hymborth, *o bell.*

Yn y fan yma y mae'r gair yn cynnwys hyn i gyd, cyn helaethed a'n cyfreidiau, pob peth anghen-rheidiol i'n cadw ni yn fyw, bwyd, a diod, a dillad, heddwch, iechyd, rhyddid, pob peth cymmhesur, a chyttûn a'n cyflwr, ynom ein hunain, ein teulu, ein ymarweddiad, llês yr Eglwys neu'r cyffredin.

Yn hyn y mae ein Iachawdwr yn ein hyfforddi, ac yn ein cyfarwyddo, i weddio am bethau bydol hefyd, pethau perthynas i'r bywyd marwol hwn. Ac am hynny nid oes ûn fendith, neu ddawn amserol yn y byd, a ellir ei ddymuno yn gyfiawn, ni's cynhwysir yn y deisyfiad a'r mynegiad hwn, *o Fara.*

"Isaac yn gweddio ar yr Arglwydd dros ei wraig," Gen. xxv. 21. "Y Canwriad dros ei wâs." Matth. viii. 6. Yr Apostol, dros bob dyn, "yn enwedig dros frenhinoedd a phawb mewn goruchafiaeth, fel y gallom fyw yn llonydd ac yn heddychol." 1 Tim. ii. 2.

*Dafydd* a *Solomon* yn erbyn rhyfel, newyn, haint, llosgfa, malldod, locustiaid, a'r lyndys,

1 Bren. viii. 37. &c. Nid yw eu gweddiau hwynt i gyd ond darnau priodol o'r weddi gyffredinol yma. nid ŷnt ond rhai a berthynant i'r deisyfiad hwn. A than un gaîr *Bara*, y deellir pob peth a ellir ei ddymuno er mwyn ein cynnal yn y fuchedd brésennol hon.

Yn arbennig, yr ydym wrth ddywedyd hyn, yn gweddio ar ein Tâd nefawl, ar iddo fendithio pob peth *perthynasol* i'n cynhaliaeth, a'n bywyd. Pa beth yw *ffon* y bara heb fendith arni? Nid ellir mor pwyso arni; hi a dyrr: nid oes na ffrwyth, nag ymborth, na cynnorthwy ynddi: Llawer un sydd, a chanddo fara, yn llawn, ond heb ei ddigoni: Llawer un yn gyfoethog, yn cael pob peth yn helaethus, ac etto yn anfodlon: Llawer un yn cael heddwch gan bawb o'i gwmpas, ond yn aflonydd ynddo ei hûn: A hyn i gyd o eisiau bendith a'r eu meddiant a'u perchen.

Helaeth yw'r weddi, a hael yw Duw ein Iachawdwr yn dysgu i ni weddio am bob peth: Ond ni thal y cwbl ddim heb fendith arno. Gras a bendith Duw ar y rhan leiaf a wna hynny, y rhan, y tippyn, y crystyn lleiaf, yn ddigonol.

Y rheswm, neu'r achos pa ham i'n dysgir i weddio am *Fara*, yn hytrach na dim arall yn enwedig; (nid, am gyfoeth, iechyd, dillad,) yw. 1. *Ut frænum injiciat cupiditatibus & frugalitatem commendet*, (h. y.) "I ffrwyno ein tra-

chwantau a'n cybydd-dod, a'n hannog i gymmedrolder bywyd."

Bara, nid melys-fwyd a ydys yn gweddio am dano; ac wrth hynny i'n dysgir i'w gymmeryd, a'i fwynhau yn gymmhedrol, pa beth bynnag a roddir i ni ar ôl hyn o ddeisyfiad. Rhaid i ni, nid yn unig fod yn fodlon a'r pethau sydd gennym, ond gwneuthur y gorau o honynt hefyd, er *mantais* i *Dduw*: ef y biau y ddawn leiaf, ac ein heneidiau ein hunain. Ni wasanaetha i ni fôd, nag yn anfodlon, nag yn afradlon; digon yw fod gennym fara: I'n mwyniant ein hunain ac i'r *plant* y rhodwydd ef; nid i'w daflu i'r cenawon cŵn.

Dysged y grwgnachwr, anfodlon a'i stâd, a'i ran, a'i gyflwr, dysged ac ofned, meddaf, wrth esampl yr *Israëliaid*, y rhai a welent yn wael y bara nefol a roesai Duw iddynt yn yr anialwch; "ffiaidd yw *meddant* gan ein henaid y bara gwael hwn." Num. xxi. 5. Cîg a fynnent hwy nid bara. Am hynny *cig a roddodd Duw iddynt yn ei ddigllonedd.* "A'r cig etto rhwng eu dannedd hwynt heb ei gnói, enynnodd digofaint yr Arglwydd yn erbyn y bobl, a'r Arglwydd a darawodd y bobl a phla mawr iawn." Num. xi. 33.

A dysged y rhy-draul yntau, wrth ddammeg yr afradlon. Luc xv. Dysged, meddaf, edifarhau, ac ymchwelyd at ei Dâd, rhag iddo farw o newyn, a'r ôl treulio'r rhan a roesid iddo

2. Ail reswm o hon yw, i'n dysgu, (fel y dywaid y prophwyd) " Os cynnydda golud na roddwch eich calon arno." Salm lxii. 10. Ar i bob un fwynhau y pethau presennol gyda diolchgarwch a sobrwydd, fel y gallo efe fyw yn ôl ei alwedigaeth, a bod yn gymmwys i wneuthur gwasanaeth i Dduw yndeli.

Rhaid i ni beunydd fôd yn feddylgar, am wîr arfer y deisyfiad hwn, i geisio *Bara* gan Dduw o ddydd i ddydd, a bendith arno yn ychwaneg.

*G*. Ond fe a ddywaid rhyw un: A nyni wedi ein addysgu i geisio bara yn unig i borthi ein hangen, ai rhydd ac iawn i ni arfer y creaduriaid i hyfrydwch?

*A*. Attebed y gŵr doeth iddo. " Wele, y peth a welais, da yw a thêg i ddyn fwytta ac yfed a chymmeryd byd dà o'i holl lafur a lafuria tan yr haul, holl ddyddiau ei fywyd, y rhai a roddes Duw iddo: Canys hynny yw ei ran ef. Ie i bwy bynnag y rhoddes Duw gyfoeth a golud, ac a roddes iddo rydd-did i fwytta o honynt, ac i gymmeryd ei ran, ac i lawenychu yn ei lafur: Rhodd Duw yw hyn." Preg. v. 18, 19.

Y mae Duw yn fynych yn rhoddi mwy nág a ddymunem, mwy nág a **lafasai* calon dyn ei ofyn, gan ystyried ei annheilyngdod ei hûn. Ac ymhyfrydu a llawenychu yn y rhan a roddes

* Feiddiai.

Duw iddo, nid yw amgen nag arwydd dda o'i ddiolchgarwch. Ond ni wneir mo hyn yn iawn heb sobrwydd a gocheliad.

Y neb gan hynny, a fynnai ymhyfrydu mewn helaethrwydd, a llawenychu yn ei lafur, ym mwyniant y creaduriaid a roddes Duw tan ei law, rhaid iddo,

1. *Fôd yn siccr*, yn hyspys ganddo, fôd ganddo fwy nac a wasanaethai i borthi angen. Canys y neb a arlwya wledd i'w gyfeillion, ac a ddywetto wrthynt hwy, ai enau ei hûn, bwyttawn, ac yfwn, ac ymlawenychwn; tra fo'r plant a'r teulu yn ymprydio, eisiau a newyn arnynt; nid yw amgen, na thaflu bara'r plant, i'r cenawon cŵn: *Lleiddiad* yw, a *Lleidr*. Yr un ffunyd y neb a dreulia arian ar ei feluschwantau heb dalu ei ddyledion, nid yw yntau ond yspeiliwr, yn gwario'r eiddo arall. Cofied pa beth a ddywaid yr Apostol: "Od oes neb heb ddarbod tros yr eiddo, ac yn enwedig ei deulu, efe a wadodd y ffydd, a gwaeth yw na'r di-ffydd." 1 Tim. v. 8.

2. *Buro*, a sancteiddio ei galon, i gymmedroli ei lawenydd, fel na osodai mo'i galon ar y pethau *bydol* hyn, heb feddwl am y fan, lle mae gwir lawenydd ac hyfrydwch yn cartrefu.

3. *Ystyried*, mai yn y *bara ysprydol, tragywyddol*, y dylai pob dŷn ymhyfrydu fwyaf. Nid ŷm ni yn ceisio, ag yn gweddio am y *bara*

*bydol* hwn, ie, pethau angenrheidiol i'r bywyd *presennol*, ond i'n cynnal yn unig tros ennyd, tra fôm yn cyrrhaeddyd at y *llall*, y tragywyddol yn y nef;—lle ni bydd mor newyn, nag angen, nag eisiau mwyach.

## PREGETH XII.

Ar y geiriau—*Bara beunyddiol.*

EPIOWSION, *Beunyddiol.* Llawer bŷd o ymryson sydd ynghylch cyfieithiad y gair hwn, ac o herwydd hynny amryw *opiniwnau* am y bara hwn, a dealltwriaeth y deisyfiad.

Yr amseroedd o flaen *St. Hierom* ai cymmerent, fel yr ydym ninnau heddyw, ac a ddywedent, *Quotidianum, Beunyddiol.* Ond nid oedd y *Tâd* dysgedig hwnnw yn gweled hynny yn iawn, ac yn gyttûn a'r gair *Epiôwsion, yn y groeg*. Efe gan hynny a'i newidiodd, ac a roddes *Supersubstantialem* yn ei le. (h. y.) *Mwy na sylweddol:* yr hwn hefyd a geir yn *Cyprian, Awstin,* ac *Ambrose:* Ac *Erasmus* yn ddiweddar yn eu canlyn hwynt, gan dybied, o ran *tadogaeth* y gair, y dylai fôd y cyfryw fara, *qui universus substantias seu creaturas excellit. Chem. Harm. c.* 51. "ag a fo yn rhagori ar bob sylwedd, neu greadur yn y bŷd."

Ac o herwydd i'n Iachawdwr ein gwahardd i fôd yn ofalus am ymborth corphorol, ie, yn yr

un bregeth, pan ddysgodd weddio fel hyn yr amser cyntaf. Matth. vi. 25. Am hynny, medd *Erasmus*, "Nid bara y bywyd presennol hwn, ond y bara tragywyddol, a berthyn i'r bŷd a ddaw, a ddysgwyd i ni weddio am dano." *Non iste panis est, qui vadit in corpus, sed panis vitæ æternæ*. Ambr. de Sacram. lib. v. "Nid yr hwn, a â i mewn i'r corph, ond bara y bywyd tragywyddol."

Wrth hynny, y mae *Erasmus* yn cymmeryd arno i'n * *perswadio*, nad oedd gymmwys, na chymmesur, i Grist Iesu yn y weddi ysprydol hon, ddysgu i ni geisio gan ein *Tâd nefawl* y bara gwael corphorol, yr hwn y mae'r cenhedl-oedd yn ei gael ac yn ei dderbyn o ddwylaw eu Tâdau cnawdol.

Eithr nid yw hynny felly; nid anghymmwys, nag anghymmesur, i ni weddio am fwyd gan eid Tâd nefawl. "Fy mwyd i yw, gwneuthur ewyllys fy Nhâd." Ioan iv. 34. Dywedwn ninnau'r un modd: A'i ewyllys *ef* yw, ar i ni ymddiried ynddo ef am y pethau bydol hyn hefyd. "Oblegid gwyr ein Tâd nefawl fôd arnom eisiau yr holl bethau hyn." Matth. vi. 32. Ag yntau ei hun yn peri i ni "fwrw ein holl ofal arno ef, am ei fôd efe yn gofalu trosom." 1 Pedr v. 7. Am hynny nid yn unig ym mhethau nefawl, ond yn enwedig ym mbethau daearol hefyd.

Onid ydym ni yn cydnabod (fel y dylem yn

* Peri coelio.

siccr) mai oddiwrth ein Tâd nefawl yr ydym yn cael ac yn derbyn y pethau hyn i gyd? Onid yw'yr Arglwydd yn anfodlon ganddo i'r rhai a ddisgwylient ddim ar law neb arall, ond oddiwrtho efe ei hun yn unig?

O achos hyn, y mae Duw, trwy'r prophwyd *Hosea*, yn argyhoeddi ac yn bygwth *Israel.* "Ar ei phlant ni chymmeraf drugaredd, (medd efe am ferch Sion,) am eu bôd yn blant godineb. Canys eu mam hwynt a butteiniodd; gwradwyddus y gwnaeth yr hon a'i hymddug hwynt: Canys dywedodd hi, af ar ôl fy nghariadau, y rhai sydd yn rhoi fy mara, am dwfr, fy ngwlân, a'm llin, fy olew, am diodydd. Am hynny, wele, mi a gacaf i fynu dy ffordd, &c." *Hosea* ii. 4, 5. A thrachefn, adn. 8. "Ni wyddai hi mai myfi a roddais iddi ŷd, a gwin, ag olew, ac a amlheais ei harian, a'i haûr, y rhai a ddarparasant hwy i Baal."

Ar law Duw yn unig y dylem ni geisio a disgwyl y pethau bydol hyn i gyd, ein bwyd, a'n diod, a'n dillad, ac nid fel yr *Israeliaid* gŷnt, gan eu delwau. A chymmaint a bod y weddi hon yn gwbl-berffaith, yn cynnwys ar fyrr eiriau gymmaint ôll ag allom ni weddio am danynt, a bôd y bara corphorawl hwn yn beth *anghenrheidiol*, yr hwn ni's gellir moi ddwyn adref i'r un o'r deisyfiadau eraill: gwybyddwch yn ddiammau mai yn y geiriau hyn y dysgodd Crist i ni weddio am dano.

Rhai eraill, yn enwedig y *Romistiaid* ar *Fath.* t. d. 6. a fwriant y ddau fara ynghyd i'r deisyfiad hwn, sef, yr *ysprydol* a'r *corphorol* hefyd. Canys fel hyn y dywedant. "Nid ydym ni, wrth ddywedyd hyn, *Dyro i ni*, &c. Yn gweddio yn unig am yr holl bethau anghenrheidiol er cynhaliaeth i'r corph, ond yn hyttrach yn fwy o lawer am ysprydol ymborth yr enaid, yn enwedig, y sacrament bendigedig,—yr hwn a ddywaid am dano ei hun."

"Myfi yw bara'r bywyd." Ioan vi. 35. "Myfi yw'r bara bywiol, yr hwn a ddaeth i wared o'r nêf: Os bwytty neb o'r bara hwn, efe a fydd byw yn dragywydd; a'r bara a roddaf fi yw fy nghnawd i, yr hwn a roddaf fi tros fywyd y byd." Ioan vi. 51.

Eithr nid rhaid mo hynny chwaith, sef, fwrw'r ddau ynghyd i'r deisyfiad hwn, o herwydd i'n Iachawdwr ddysgu i ni geisio ein hymborth ysprydol a dderbyniasom ni *(heddyw)* ar law ein Tâd nefawl: gan ystyried yn ddiochgar y diben pennaf o herwydd yr hwn y trefnwyd efe i ni.

Megis ag yn y dechreuad, cyn gynted ag y creüwyd y dyn, a'r hôll greaduriaid eraill, Duw a drefnodd iddo *luniaeth* wrth yr hyn y byddai iddo fyw: Felly hefyd yn y Creadur newydd: Ar ôl ei ail eni trwy *Fedydd*, rhoddwyd iddo fwyd, i gynnal bywyd, sef, *Swpper yr Arglwydd*, i borthi ei enaid yn niogel obaith o fywyd tragywyddol.

Canys y *Sacrament* hwn sydd yn wystl ac yn ammod i gynnifer ag a'i derbynio yn ôl gosodiad Crist, y portha efe yn ôl ei addewid, trwy *rinwedd* ei gorph croeshoeliedig, a'i waed tywalltedig, ein heneidiau i fywyd tragywyddol, yn gystadl ag y maethir ein cyrph gan fara a gwin i fywyd amserol.

I'r diben a'r pwrpas hwn, y mae Crist yng ngweithred y Sacrament, *Cymmun Corph a gwaed yr Arglwydd.* A chymmundeb ni ddichon fôd o bethau absennol, eithr o bethau presennol: ac ni byddai yn *Swpper yr Arglwydd* oni bai fôd corph a gwaed yr Arglwydd yno.

| | |
|---|---|
| Y mae Crist yn bresennol i'n porthi yn y Sacrament— trwy undeb, | 1. *Ysprydol*, rhwng Crist a'r Derbyniwr teilwng.<br>2. *Sacramentaidd*, rhwng corph a gwaed Crist, a'r arwyddion oddi alian yn y Sacrament. |

*Yn gyntaf*, a weithredir trwy waith yr Yspryd Glân yn cyfanneddu yng Nghrist, ac ynom ninnau, yn ein *corpholaethu* megis yn aelodau i Grist ein pen; ac felly yn cael ein gwneuthur yn un a *Christ*, ac yn gyfrannogion o'r holl radau, sancteiddrwydd, a'r gogoniant tragywyddol; y rhai ydŷnt ynddo ef, mor ddiogel a siccr, ag yr ydym yn clywed geiriau yr addewid, ac yn gyfrannogion o'r arwyddion oddi allan, yn y *Sacrament bendigedig.*

*Y llall*, sef yr undeb Sacramentaidd nid yw amgen na chysylltiad ysprydol rhwng yr ar-

wyddion daearol, y rhai ydynt *Gorph* a *Gwaed Crist* wrth eu derbyn.

O hyn y digwydd, pryd y bo'r Derbyniwr teilwng yn bwytta a'i enau corphorol, fara a gwin yr Arglwydd, ei fôd ef hefyd ar yr un amser, yn bwytta a genau ei *ffydd*, wîr gorph a gwaed Crist. Nid o ran fôd Crist yn dyfod i lawr o'r nefoedd i'r fan hon attom, eithr o ran bod yr Yspryd-Glân, trwy y *Sacrament*, yn derchafu ein meddyliau at Grist ar y deheulaw yn y nefoedd; nid trwy gyfnewidiad lleawl, eithr trwy serch defosionawl. Megis yng ngolwg ein ffydd yr ydym y pryd hyny yn bresennol gyda Christ, a Christ gyda ninnau. Ac fel hyn, gan fyfyrio a chredu, a chroeshoelio corph Crist, a thywallt ei werthfawroccaf waed, er maddeuant o'n pechodau, ac er mwyn cymmodi ein heneidiau a Duw; y mae ein heneidiau wrth hyn yn cael eu maethu yn ffrwythlonach a diogelwch o fywyd tragywyddol, nac a eill y bara a'r gwin borthi ein cyrph i fywyd amserol.

Wrth hyn y deellir pa beth yw *Porthi eneidiau*, nid amgen, cryfhau ein ffydd yng Nghrist: Porthi'r corph yw ei gryfhau a lluniaeth; Porthi'r enaid, chwanegu ffydd, ac amlhau pob rhâd ysprydol.

Dyma'r modd i ni fyned yn gryfion mewn ffydd, trwy fynych *gofio* a *myfyrio* ar werthfawr brîs ein prynedigaeth. I hyn yr *ordeiniodd* yr Arglwydd ei Swpper bendigedig, i ddwyn

ar gôf i *Gristianogion* yn oestadol, yr aberth fywiol, yr hon a offrymmodd Crist unwaith am y cwbl, trwy ei farwolaeth ar y groes i'n cymmodi ni a Duw. "Gwnewch hyn (medd Crist) er coffà am dana fi." Luc xxii. 19. Ac y mae yr *Apostol* hefyd yn dywedyd, "Cynnifer gwaith bynnag y bwyttaoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwppan hwn, y danghoswch farwolaeth yr Arglwydd hyd oni ddelo." 1 Cor. xi. 26. Ac y mae efe yn dywedyd ym mhellach, mai trwy y Sacrament hwn, a phregethiad y gair, "y darfuasai portreio Iesu Grist o flaen llygaid y Galatiaid." Gal. iii. 1. Canys y mae'r gwbl-weithred yn dangos marwolaeth Crist; Torriad y bara, croeshoeliad ei gorph; bwrw allan y gwin, tywalltiad ei waed. Un-waith yr aberthodd Crist ei hun yn gorphorol: Eithr cyn fynyched ag y cyssegrir y Sacrament bendigedig hwn; cyn fynyched a hynny yr aberthir ef i'r ffyddloniaid yn ysprydol.

Nid oes fôdd fanylach yn y býd na'r coffa hwn i gadarnhau ffydd ynom. Canys y mae Duw wrth y Sacrament yn arwyddoccau, ac yn seilio i ni o'r nef, mai yn ôl yr addewid a'r cyfammod newydd a wnaeth efe a nyni yng Nghrist, y derbyn efe i'w râd a'i drugaredd yr holl ddynion credadwy edifeiriol, ac a dderbynio ei Sacrament sanctaidd yn ddyledus. Ac er mwyn marwolaeth a dioddefaint Crist, efe a faddau iddýnt eu holl bechodau mor ddiammau,

ac y maent yn gyfrannogion o'r arwyddion, y bara a'r gwin a roddir iddynt.

A pharth nid bychan o'n cryfdwr ysprydol ydyw ein gobaith, a'r diogelrwyd o'r bywyd tragywyddol, yr ydym yn eu gael trwy'r bara Sacramentaidd. O! pa beth sydd fwy dymunol na *bywyd?* A pha beth y mae yr holl ddynion yn naturiol i'w ofni, neu i'w gasâu yn fwy na *marwolaeth?* Etto nid yw y farwolaeth gyntaf yma ddim i sôn am dani wrth ei chyffelybu i'r ail farwolaeth; ac ni thâl y bywyd yma ddim chwaith o herwydd ei gystadlu a'r bywyd sydd ar ddyfod. Os dymuni di gan hynny fod yn ddiogel o'r bywyd tragywyddol, ymbarotto, dy hun i fôd yn dderbyniwr teilwng, a ffyddlawn, o'r *bara Sacramentaidd.* Canys y mae ein Iachawdwr yn ein siccrhau ni, "Os bwytty neb o'r bara hwn, efe a fydd byw yn dragywydd, &c." Ac mewn gwirionedd dyma 'bûr "bren y bywyd, yr hwn a blannodd Duw yng nghanol Paradwys yr Eglwys." Dat. ii. 7. Ac o'r hwn y mae ef yn addaw rhoi i bôb gorchfygwr i'w fwytta.

A'r pren hwn o'r bywyd, mewn aneirif raddau, sydd yn rhagori ar bren y bywyd oedd yn tyfu ym mharadwys Eden. Canys yr oedd *hwnnw* a'i wreiddin o'r ddaear, *hwn* o'r nefoedd: Hwnnw ni roddai ond bywyd i'r corph, hwn a rydd fywyd i'r enaid: nid oedd hwnnw ond ymddiffyn, neu gynnal bywyd y rhai byw, y mae hwn yn adferu bywyd i'r rhai meirwon.

Dyma'r pren Dat. xxii. 2. "Bôb mîs yn rhoddi ei ffrwyth: Dail yr hwn a iachâ y Cenhedloedd," ac a'i portha i fywyd tragywyddol.

O! bendigedig ydŷnt, y rhai sydd o ddydd i ddydd yn bwŷtta yn deilwng y bara bendigedig hwn; o amser i amser yn archwaethu o newydd, o'r ffrwŷth adnewyddedig yr hwn a barottödd Crist i ni ar ei fwrdd ei hun; yr hwn yw ei gorph ei hun, i iachau ein gwendid, ac i gryfhau ein crediniaeth i fywyd tragywyddol.

O! Arglwydd, trugarog, a daionus, mawr ddiolchwn i ti am dy fawr drugaredd yn ein porthi hyd yn hyn a'th *sanctaidd sacramentau*; Na chymmer, (nyni a attolygwn iti,) dy fendigedig ordinhadau oddiwrthym: Dyro i ni o ddydd i ddydd ein *bara beunyddiol*, yn ysprydol i'n cryfhau fwyfwy mewn ffydd, a gobaith, a chariad perffaith, a diogelrwydd o'r bywyd tragywyddol; yr hwn a addewaist, ac a ordeiniaist i ni yn dŷ Fâb Iesu Grist, &c.

---

## PREGETH XIII.

A'r ail ar y geiriau: *Bara beunyddiol.*

ERAILL a fynnent ddwyn *Epiówsion* o *epieimi*, yr hwn a arwyddoccâ, *Dynesu, dyfód at beth*, fel pe bai fara damweiniol yn myned ac yn dyfôd beunydd. *Quem non sufficit*

*semel accipisse*, "Yr hwn ni wasanaetha i ni mo'i gael un-waith: Am nad yw yn parhau." Ac wrth hynny rhaid i ni fôd beunydd, a phob amser, yn ei ofyn ac yn ei dderbyn; fyth yn dyfod oddiwrth Dduw i'n cynnal. Gwir yw hyn, ac fe'n dysgir wrth hynny.

1. I fôd yn feddylgar, mai ein Tâd nefawl sydd yn gofalu trosom, yn rhoi i ddyn ei wala, a phob amser yn ei ddiwallu.

2. Na ddylem ni mor ymffrostio, na gorfoleddu yn ein nerth a'n llafur ein hunain, fel pe gallem haeddu, neu ynnill ein bara; ond bod yn ddiolchgar i Dduw, sydd beunydd yn tywallt ei fendithion arnom.

3. Nâd yw y bara hwn ddim o'r pethau gorau a weddiem am danynt, ond *E'perchômenon*, "a ddelo at hynny yn ychwaneg;" A'r ôl cyngor ein Iachawdwr: "Nac ofelwch am eich bywyd pa beth a fwyttaoch, neu pa beth a yfoch, &c. Eithr yn gyntaf, ceisiwch Deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef, a'r hôll bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg." Matth. vi. 31, 33.

Cywirach i rai eraill ddwyn y gair hwn *Epiôwsion*, oddiwrth *ôwsia*; hynny yw, *Hanfôd*, neu *ddefnydd*, o'r hyn y gwneir peth. I'r hyn y mae ein bara yn angheurheidiol i gynnal ein sylwedd, ac i'n cadw yn fyw.

Ond weithiau yr ysgrythur Lân a gymer *ôusia* yn lle *golud*, *cyfoeth* neu *dda bydol*. Megis ag y dywedodd y mâb afradlon wrth ei dâd.

Luc xv. 12. *Dós moi tò hupérbàlon méros tês oúsias.* "Fy Nhâd, dyro i mi y rhan a ddigwydd o'r dâ." Ac o hyn *Perióusios*, a elwir "rhyw Drysor gwerth-fawr dewisedig:" Ac yn y gwrth-wyneb *E'pióusios*, "cymmaint o dda'r bŷd ag a fo arferol i'w gael, cynnefinol, ddigonol."

Ac fel hyn y bydd y deisyfiad hwn yn gyttûn a gweddi Solomon. Dihar. xxx. 8. "Na ddyro i mi na thlodi, na chyfoeth: Portha fi a'm digonedd o fara." Neu, Dód gymmaint, ag a fo raid i mi wrtho.

3. *Hémôn. Ein bara ni*, ein heiddo. Nid fel pe bai i ni fraint, neu hawl yn y bŷd ynddo.

Ond 1. Am fôd ei eisiau arnom. Nid allwn ni mor byw, nag mor bod hebddo.

2. Am ei fod wedi ei gymmedroli, a'i gymhesuro i bob un ar ol ei gyflwr, i bob dyn ei ddigon ei hun: Ei ran o fara, cymmaint ag a wasanaethai yn ol *ordinhâd* Duw, i gadarnhau calon dŷn, ar ol ei gryfdwr naturiol, priodol.

3. Ein heiddo trwy ynnilliad cyfreithlawn: Canys trwy lafur ac helbul yr ydym yn ei ynnill, a'i haeddu, megis cyflog yn y bŷd. Cyfiawnder Duw ydyw ar ol pechu o ddyn, farnu o honaw, "na fwyttai ddyn mo'i fara, ond trwy chwŷs ei wyneb:" Gen. iii. 19. Ond yn hyn y mae ei ddaioni yn ymddangos, gan ei fod yn addaw, ac yn parottoi bara i bob un a

mero boen am dano, fel y gallai efe fwytta, wedi iddo lafurio, a chwysu, er mwyn ei gael.

4. Ein heiddo *wrth ei drin a'i feddiannu.* Ein Tâd y piau'r bara, ond i ni y mae efe yn ei roddi. Nyni y piau hefyd trwy rodd ei law haelionus ef. Eithr yn hyn nid ŷm yn ceisio nag yn dymuno, ar i Dduw gymmeryd dim oddi wrth neb arall, a'i roddi i ni. Canys y mae ganddo ddigon iddŷnt hwy, ac i ninnau hefyd: Ond y peth a ddarfu iddo yn ei ragluniaeth ddaionus, ai ragddarbod, bennodi i bob un o honom yn neillduol, yn ôl ei *stâd* a'i gyflwr.

Ac fel hyn y mae'r bara yn myned ac yn bod yn eiddom ni nid yn unig, wrth y braint y mae Duw yn ei roddi i ni yng Nghrist yn y creaduriaid oll, yn yr hwn yn unig y sancteiddir pob rhyw greadur i ni; yr hyn yw braint o *Râs* yng ngwydd yr Hollalluog; eithr y mae i ni fraint arall ynddo o flaen dynion, pan fôm gwedi cael meddiant trwy foddion gonest a chyfreithlawn, ynnill, pwrcas, llafur, etifeddiaeth, neu'r cyffelyb

Ar hyn, sef, yr eiddo ti, a'r eiddo finnau, gadael i bawb ei eiddo, y mae holl lywodraethau y byd yn sefyll: A'r llywodraethau hyn i gyd, "gan Dduw y maent wedi eu *hordeinio.*" Rhuf. xiii. 1. Pe bai pob peth yn gyffredin, nid allai neb ddywedyd, fod dim ar a feddai, yn eiddo ei hunan. Eithr y mae Duw trwy'r Apos-

tol yn peri i bob dyn " fwytta ei fara ei hun, a'i ynnill, er mwyn hynny." 2 Thess. iii. 12. " Ond i'r cyfryw, (sef i'r afreolus, rhodresgar) " gorchymmyn yr ydym, a'u hannog trwy ein Harglwydd Iesu Grist, ar iddynt weithio trwy lonyddwch, a bwytta eu bara eu hunain."

4. Nid ydym yn ceisio bara neu luniaeth, tros fîs, neu flwyddyn, neu einioes, ond, *cath' hêméran, o ddydd i ddydd*, pob dydd ei ran a'i ddogn.

5. Nid i ni ein hunain chwaith, ond in brodyr hefyd, *hêmîn*, i bob dyn y faint a drefno Duw o'i ddaioni iddo. Mor gariadus y dylem ni fod, pan weddiom, heb na digter, na dall, na chenfigen yn erbyn neb; heb falchder, heb anghariadoldeb, yn ddiystyr gennym neb o'u brodyr.

6. *Dyro Di*, sef, ein Tâd nefawl; ni ddylem na gweddio, na disgwyl ar law neb arall y lleiaf peth, a fo'n rhaid wrtho. Fel y mae efe yn *Dad* i ni, o'i fawr dosturi, mae efe yn ewyllysgar ac yn barod i'n porthi: Fel y mae efe yn y nefoedd, mae efe yn alluog, yn gallu ein porthi yn ol ein hangen. Ni ddichon neb ar y ddaear o hono ei hun roddi i ni ddim; ac ni ddichon neb yn y nefoedd chwaith, na Seintiau, nac Angylion; ond ein Tâd yn unig. Arno ef yn unig y mae i ni weddio; Ar ei law ef yn unig y mae i ni dderbyn bara a phob peth cyfreidiol i ni.

7. [illegible]. O rodd y mae i ni [illegible] gandddo. Nid [illegible]: Nid yw Duw [illegible] a nyni yn ôl ein [illegible] fyddai ein [illegible] creaduriaid. "Os [illegible] O Arglwydd [illegible] Salm [illegible].

Y[illegible], ac ystyried y [illegible] ar fedr dy- [illegible] feddylied,

1. [illegible] yn dibynnu ar Fara [illegible], a bendithion amser- ol. Gwir yw, megis y [illegible]ysgrifenwyd, "Nid trwy fara yn unig y bydd byw dyn." Matt. iv. 4. Deut. viii. 3. Ac etto ni's gall efe mor byw heb fara. Pa faint mwy *anmhossibl* i ni feddiannu a mwynhau y bywyd tragywyddol, heb [illegible], heb roddiad y gwir fara ys- prydol a ddisgynodd o'r nefoedd: Wrth hyn gwelwn mor gyffredinol yw y rhan hon o'r weddi. Ni chynhelir neb heb fara, ac ni cheir mor bara heb ei ofyn.

2. Fòd y pethau oddi allan, perthynasol i'r bywyd a'r bŷd presennol, cyfoeth, a nerth, a llwyddiant teyrnasoedd, teuluoedd, gorchwyl- ion dynion, yn dibynnu, nid ar ddoethineb bydol, cynghorion y call, dyfalwch y cyw- raint, neu'r cyffelyb, ond ar Dduw yn unig;

yr hwn sydd yn trefnu teuluoedd, teyrnasoedd; dosparthu i bob grâdd, ac i bob dyn yn ôl ei ewyllys ei hun: A hyn hefyd a bair i ni weddio, ac i gyfarwyddo ein deisyfiadau, at wir ffynnon pob daioni, beth bynnag a ddymunem. "Canys pob rhoddiad ddaionus, a phôb rhodd berffaith, oddi uchod y mae yn disgyn, oddiwrth Dâd y goleuni." Iag. i. 17.

3. Megis ag ni cheir dim o'r pethau hyn i gyd, ond trwy roddiad ar law Duw, felly ar ôl eu cael nid ydynt na da, na digonol i ni, oni rydd Duw ei fendith arnynt yn ychwaneg. Gweddiwn gan hynny, ar i'n Tâd nefol, dywallt ei roddion arnom yn fendithion, nid er barnedigaeth. (Fel y rhoddes efe i'r Israeliaid gynt gig, a bara, a Brenin yn ei ddigllonedd.) Yn ei nerth a'i rym ef yr ydym yn llafurio, O'i *ddaioni* yr ydym yn derbyn ffrwyth ein llafur; Yn ei râs ef, a thrwy ei fendith y cawn ni gyssur, a bodlonrwydd yn y ffrwythau a dderbyniom.

4. Dysgwn weddio, nid am olud, helaethrwydd, a meyls-fwyd, i osod allan ein balchder, a'n chwantau cnawdol; ond y pethau a welo Duw yn ddâ er ein lles; am bethau anghenrheidiol, a chymmedrol, cymmhesur i'n *stâd* a'n cyflwr. Gweddiwn, fel y gwnaeth y gŵr doeth, yn gystal rhag cyfoeth a thlodi. "Na ddyro i mi na thlodi, na chyfoeth: Rhag i mi ymlenwi, a'th wadu di, a dywedyd, pwy yw'r

Arglwydd? a rhag i mi fyned yn dlawd, a lledratta, a chymeryd enw fy Nuw yn ofer." Diar. xxx. 9. Digon yw yr unig fendith: A hynny a fydd, lle bo bodlonrwydd. Hyn a'n cyfarwydda beth, a pha fôdd, y dylem ni weddio amdanynt o'r pethau perthynasol i'r bŷd hwn.

5. Dysgwn wrth hyn fôd ein Tâd nefawl bob amser, ddydd a nos, awr ac ennyd, yn gofalu trosom; a llygad ei ragluniaeth yn cadw y *wiliad-wriaeth* uwch ben pob un o honom: Och! na bai llygaid y creaduriaid môr wiliadwrus, i edrych i fynu yn ddiolchgar, ac yn *ddefosionol* ar ei law ef, ag y mae ei law a'i lygad bob amser yn agoryd, i edrych ar ein cyfreidiau, ac i dywallt i lawr, a'n diwallu a'i fendithion.

Duw ei hun sydd yn gofalu trosom. Nid rhaid i ni, ac ni ddylem chwaith fôd yn ofalus trosom ein hunain am y pethau bydol hyn, bwyd, a diod, a dillad; na thryssori mwy nac a fo ddigon i wasanaethu'r tro, ac i fwrw'r amser: Pa faint lai y dylem orfoleddu, ac ymddiried, yn ein *rhagddarpar* ffôl ein hunain.

"Os cynnydda golud na roddwch eich calon arno." Salm lxii. 10. Par fo Duw gwedi rhoi llwyddiant, ac i chwi gasglu tan ei law, yn amlach na neb arall, mwy nac a wasanaetha i'r dydd heddyw, na thybyga, na bydd rhaid iti mor gweddio y foru, am fôd gennit eusoes fara,

tros lawer o ddyddiau? Pa raid i mi geisio mwy, hyd oni ddarfyddo hynny? Ymogelwn ddywedyd hyn (fy mrodyr) yn ein calonnau, amryfusedd y dŷn ffôl yn yr *Efengyl*, yr hwn a ddywedai yn ei lwyddiant wrth ei enaid. *Fy enaid, y mae gennit dda lawer wedi eu rhoi i gadw tros lawer o flynyddoedd, Gorphwys, bwytta, yf, bŷdd lawen.*

Eithr Duw a ddywedodd wrtho, "O ynfyd, y nos hon y gofynnant dy enaid oddi-wrthit, ac eiddo pwy fydd y pethau a barottoaist? Felly y mae'r hwn sydd yn trysori iddo ei hun, ac nid yw gyfoethog tuag at Dduw." Luc xii. 19, 20, 21.

Ond ystyriwn po mwyaf a dderbyniasom, mwyaf yw ein dyled, a mwyaf a ddylai ein *eidduned* a'n *defosiwn* fôd, i sancteiddio trwy weddi, a moliant, yr ystôr, a roddes ein grasusol Dâd i ni, i geisio bendith yn ychwaneg arno, fel y gallo fôd yn wîr fara i'n cynnal, yn gynhysgaeth i'n cyfoethogi, ac i lawenychu yn dduwiol ynddo. Heb y fendith hon yn disgyn beunydd arnom fel y gwlith o'r nef, nid yw na chyfoeth, na synwyr, na chryfdwr, na dim o'r pethau y mae'r bŷd yn gorfoleddu ynddynt, ond oferedd. A hyn hefyd a ddylai ein cynhyrfu i weddio yn oestadol, ymddiried yn Nuw yn unig am ymborth a chynhaliaeth.

Arnat ti, o Dduw, yr ydym yn bwrw ein

beichiau: Cymmer di, ni a attolygwn iti, ofal trosom: Cynnal ein heneidiau a'n cyrph: *Dyro i ni o ddydd i ddydd* bob peth anghen-rheidiol, i gymmaint ac sydd yn ol i ni o'n bywyd trangcedig hwn, fel y gallom dy wasanaethu a'th foliannu beunydd, trwy nerth y bara nefol, a roddaist i ni, Iesu Grist, &c.

---

## PREGETH XIV.

A'r ddiwoddaf ar y deisyfiad: *Dyro i ni o ddydd i ddydd ein bara beunyddiol.*

NID rhaid i mi mor atgofio y pethau a hyspysais i chwi o'r blaen. Ond yn hyttrach myned rhagom i ddangos (fel y gwneuthum yn y deisyfiadau o'r blaen.)

I. Pa bethau *da* yr ydym yn eu ceisio yn y rhan hon o'r weddi.

II. Pa bethau *drwg* a weddiom rhagddynt.

III. Mor *ddiolchgar* a ddylem ni fod i Dduw am yr holl ddaioni a dderbyniom wrth weddio fel hyn.

IV. *Dyled-swydd neillduol* pob dŷn, nid amgen, holi ei gydwybod ei hun, od ydyw yn byw ar ol ei ddymuniad.

Gwedi i ni roi i Dduw ei eiddo, yn ol ei Enw, ei deyrnasiad, a'i ewyllys, yr ydym yn troi bellach attom ein hunain, i geisio'r pethau byd-

ol, a fo rhaid i ni wrthynt. Canys gan fod y bŷd i gyd yn eiddo Duw, paham na ddymunem, ac na ddisgwyliem ar ei law ef, pa bethau bynnag yn y bŷd a allent fod yn fuddiol i ni? A hyn i gyd sydd wedi ei gynnwys yma tan un gair o *Fara;* O herwydd fôd bara yn arwyddoccâu pob peth cyfreidiol i'n cynhaliaeth, heblaw y pethau y soniasom am danynt.

I. Wrth hyn gan hynny y gweddiwn. 1. Am iechyd corphorol fel y gallom lafurio, a thrwy lafur a chwys ein gwynebau, ynnill ein bara, a'i fwynhau: Yr hyn beth, nid yw na'r gwan, na'r clwyfûs yn gallu mo'i wneuthur. *Dyro i ni fara*, hynny yw, Dyro i ni iechyd, a chryfdwr, a phob dawn anghen-rheidiol i bob dyn yn ei alwedigaeth, modd y gallo fyw ynddi yn ddigonol, a chael ei gynnal a'i borthi trwy ei waith a'i lafur ei hun.

2. Wrth hyn hefyd y gweddiwn am hir oes i'n rhïeni, ar i Dduw, (awdwr y bywyd) hwyhâu eu heinioes iddŷnt. Canys y *teuluoedd* y mae Duw yn fodlon iddŷnt, yn ewyllys-gar eu bendithio, y mae efe yn gadael eu tâdau i fyw yn hir, ac yn eu dwyn i'w beddau mewn heddwch yn oedrannus. Canys i'r cyfryw rai y perthyn yr addewid. Salm cxxviii. 6. "A thi a gai weled plant dy blant, a thangnefedd ar Israel;" fel hyn y mae Duw yn bendithio y rhai a'i hofnant ef.

3. Yr ydym yn gweddio tros frenhinoedd, a phenswyddogion y gwledydd, tros bawb sy mewn goruchafiaeth, " fel y gallom ni fyw yn llonydd, ac yn heddychol mewn pob duwioldeb a gonestrwydd." 1 Tim. ii. 2. Fel y gallo bob un fwytta ei fara ei hun yn ol ei lafur yn ei alwedigaeth. Tra fo rhyfel ac ymladdau yn ein mysg, ni bŷdd dim gennym yn ddiogel: Y da, y dillad, y bara, a ddygir oddi arnom; Ie, oddi rhwng ein dannedd, pan fom yn tybied ein bod yn siccr o hono, a'r fedr ei fwynhau.

4. Yr ydym yn gweddio gyda *Solomon*. 1 Bren. viii. 36. " am hinoedd a thymmhorau amserol, fel y derbyniom ffrwythau'r ddaear yn eu hamser; ac am fendith hefyd ar y pethau hyn i gyd, fel y gallom yn ddyledus eu mwynhau.

II. Y drygau a weddiom rhagddynt, y rhai yr ydym yn attolwg na's gwneler i ni, ydŷnt,

1. Gwendid, a chlefydau corphorol, yn llestair i ni lafurio, ac i ynnill ein bara; anghydfod, amrafaelion, ymlâddau, rhyfel, yn dwyn ein bara oddi arnom.

2. Cybydd-dod, a chynnilwch, yn casglu llawer o dda ynghyd, ac yn ei roi i gadw tros lawer o flynyddoedd, y bara i lwydo, yr arian, a'r aur, i rydu; a Christ yn dysgu i ni weddio, ond tros y dŷdd presennol, *Dyro i ni heddyw*; nid y foru, a thrennydd, a thra parhao'r bŷd;

a Duw ei hun yn gwahardd i ni wneuthur hynny. "Na ofelwch tros drannoeth; Canys trannoeth a ofala am ei bethau ei hun: Digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun." Matth. vi. 34.

3. Gormodedd, anghymmedrolder, afradionrwydd, cam-arfer a'r creaduriaid: yn gwarrio dogn yr holl ddydd mewn munud awr, ac wrth hynny yn ein gwneuthur ein hunain yn amharod, ac anghymmwys, i weithredoedd y dydd.

4. Anghariadoldeb, cenfigen, *grwgnach* yn erbyn eraill, y rhai a welom yn well eu cyflwr. Nid ŷm yn gweddio trosom ein hunain yn unig, ond tros y brodyr, tros bawb oll. *Dyro i Ni*, nid *i mi* ar fy mhen fy hun, fy mara beunyddiol.

5. Gwan-gred, ac anhyder yn nrhugaredd Dduw. Canys y peth y mae *Crist* ei hun yn peri i ni ofyn, efe a dderpyr i ni, ac a'i rhŷdd yn ddiammau, ac yn ddiattreg.

6. Pob ymarfer o foddion anghyfreithlon i ynnill cyfoeth a golud, chwareuyddiaeth, twyll, "cloriannau anwir, a'r gôd o gerrig twyllodrus." Mic. vi. 11. Dichellion, cynllwynion, cydfwriadau, &c. Ni ddylem ni geisio, ond ein heiddom, a hynny trwy rôdd yn unig o law ein Tâd nefol, fel y gwêl efe yn dda ei roddi i ni.

A chan fôd llawer o ran dilyn, a chwennychu, y pethau bydol hyn, yn colli y bywyd tragywyddol; gweddiwn rhag i hyn hefyd

ddigwydd i ninnau; "Canys nid yw bywyd neb yn sefyll ar amlder y pethau sydd ganddo." Luc xii. 15.

III. Yn drydydd, pan fo Duw gwedi rhoi y pethau yr ydym yn gweddio fel hyn amdanynt, gwedi *tywallt* arnom ei fendithion, ar bob un ei wala, a'i ddigon o *fara*; Oni ddylem ni fod yn ddiolchgar, a thalu moliant i Dduw amdano? Pa sawl un sydd yn ein mysg, ysgatfydd, nid fel y gŵr hwnnw yn yr Efengyl, a fuasai "glaf namyn dwy flynedd deugain." Ioan v. 5. etto mewn hir wendid, ac afiechid? Pa sawl plentyn yn ymddifad, gwedi ei fwrw ar y bŷd i'w faethu? Pa nifer o Gristianogion sydd tan lywodraeth-wyr anghyweithas; y rhai a' gippiant oddi-wrthynt nid y pethau bydol hyn yn unig, ond y bara ysprydol hefyd, *Gair Duw*, a'i *Sacramentau*? Od ydwyt ti gan hynny yn cael dy iechyd yn safadwy; dy rieni yn rhyw i achub dy gyfreidiau: Od wyt ti yn byw tan ryw *Josiah*, tan ryw *Frenin duwiol*, rhad-lawn, cyweithas: Dyro ddiolch i Dduw am ei drugareddau hyn, rhag iddo eu dwyn oddiarnat yn ei gyfiawnder, ac iti wybod wrth eu heisiau, pa faint ddaioni a oeddit yn ei gael o'r blaen, heb ei gydnabod.

IV. Holed pob dyn ei gydwybod ei hun, ystyried ei weithredoedd a'i gyfiwr, galwed ei fuchedd at y rheol hon, a ydyw efe yn byw yn ôl ei *wedui*. Onid yw yn hytrach yn ymosod

yn erbyn ei gorph ei hun, yn cyrchu afiechyd iddo trwy feddwdod, cyfeddach, godineb, putteindra? &c. Onid wyt ti, fel y mab gwarsyth hwnnw: Deut. xxi. 20. "yn gyndyn, ac yn anufudd, heb wrando ar lais dy rïeni;" yn peri gofid a blinder iddynt, ac yn byrhau eu dyddiau? Onid wyt yn ddiachos yn cythruddo ac yn digio y *Blaenoriaid*, yn peri dig i'r rhai sy'n gwilio trosot? Onid wyt yn tyrru bara i ti dy hun dros lawer o ddyddiau, tros fisoedd, a blynyddoedd, neu megis ag yn ei gippio o law yr Arglwydd trwy usuriaeth, trawsedd, attafaela, yn erbyn ei ewyllys? Od wyt yn gweled fôd y beiau hyn neu'r cyfryw arnat, cyffessa dy gamweddau, dyro dy brŷd a'th amcan ar wellhau dy fuchedd, ac ar ganlyn yr holl rinweddau da y mae defnydd, a chynhwysiad y *weddi* yn dy gyfarwyddo ynddŷnt.

1. Diolch-garwch, am yr holl ddaioni a dderbyniaist trwy dy holl fywyd. Canys pa beth ydyw dy gynhaliaeth, a'th iechyd, ond rhoddion beunyddiol, gwedi eu hadnewyddu i ti o ddydd i ddydd?

2. Bodlon-rwydd i'th ystâd, a'th gyflwr; a hynny,

1. O rân y peth a geisiem, pob rhoddiad ddaionus yn disgyn oddi-uchod, megis Bara ydyw, i'n nerthu, ac i'n cryfhau.

2. O rân bod i ninnau ryw fâth a'r fraint ynddo; ein heiddo, ein bara ni, *Dyro i ni.* Felly y mae Duw yn ei ddaioni a'i ragluniaeth yn cymmesuro i bob un ei ddogn, i bob dyn cymmaint ag a fo ddigonol iddo.

3. O'rân yr amser, nid ym yn ei geisio ond i'r dydd presennol, *O ddydd i ddydd;* a'r rhodd yn cyfatteb a'n cyfreidiau; ac wrth hyn y deellwch, fôd gwir fodlonrwydd, a thair o raddau arni.

1. Rhaid i bob un o honom fôd yn fodlon a'i gyflwr neu ei 'stâd ei hun, ein bara; pob dyn a'i fara ei hun.

2. Rhaid iddo fôd yn fodlon a'i gyflwr presennol, ei 'stâd y mae efe heddyw ynddi, *Dyro i ni heddyw.*

3. Rhaid iddo fôd yn fodlon a phob ystâd, y cyflwr a drefno Duw o'i ddaioni a'i ragddarbod iddo. Canys o'i roddiad ef y mae pob cyflwr.

Cymmedrolder, sobrwydd, a chymmesurwydd ymmhob rhodd a gaffom; bwyd, a diod, a dillad, a phob peth *perthynasol* i'n bywyd: Fel y gallom, " pa un bynnag, a'i yfed, a'i beth bynnag a wnelom, wneuthur pob peth er gogoniant i Dduw." 1 Cor. x. 31.

4. Cariad perffaith; Canys nid ydym yn gweddio trosom ein hunain, ond tros ein brodyr hefyd. *Dyro i ni*, nid i *Mi fy hûn*, gan gydnabod mai ein dyled-swydd yw, eu cyn-

northwyo hwynt, ddwyn cymmorth iddynt, a Duw gwedi rhoi i ni helaethrwydd, a bwrw eisiau a thlodi arnynt hwythau; gan feddylied, mai er hyn, er cymmorth iddynt *hwy*, y rhoddwyd y llawnder hynny i *ni*. Fel pe bae rhyw Dâd daearol i ddangos y rhagor rhwng ei feibion, ac i'w profi hwynt i gyd, yn gadael yr hôll etifeddiaeth tan law'r hynaf, a gorchymmyn iddo ef gadw ei frodyr. Onid oes i'r tlodion *hawl* yn llawnder y cyfoethogion?

5. Gostyngeiddrwydd, am nad oes gennym ddim yn y bŷd, nad ydym yn ei *feggio*, neu yn ei gardotta: Yn gweddio am ein *bara;* Ni chawn ni mono heb ymbil. Ac er ei fôd yn eiddom, er bod i ni ryw fath ar fraint ynddo, etto nid ydym ni yn cael mono, ond drwy roddiad yn unig, wedi ei gymmesûro i bob un ar ôl ei 'stât a'i eisiau.

6. Diwydrwydd, a dyfalwch: Megis ag y gorchymmynodd yr Apostol. 1 Thess. iv. 11. "Roddi o honoch eich brŷd, ar fôd yn llonydd, a gwneuthur eich gorchwylion eich hunain a gweithio a'ch dwylo eich hunain," heb esgeulusdra, heb oferedd. Canys ni ddylai neb fwytta, ond ei fara ei hun, yr hwn y mae yn ei ynnill: Nid ydyw na'ch arferedig gardotta, na'ch lledratta, yn ddibechod. Gwrandewch gan hynny ar yr Apostol. 2 Thess. iii. 10. "Pan oeddym hefyd gyda chwi, hyn a or-

chymmynasom i chwi, os byddai neb ni fynnai weithio, na chai fwytta chwaith. v. 11. Canys yr ydym yn clywed fod rhai yn rhodio yn eich plith chwi yn afreolus (allan o drefn) heb weithio dim, ond bod yn rhodresgar. adn. 12. Ond i'r cyfryw, gorchymmyn yr ydym, a'u hannog trwy ein Harglwydd Iesu Grist, ar iddynt weithio trwy lonyddwch, a bwytta eu bara eu hunain."

7. Hyfder ar Dduw, ei ragluniaeth, a'i ddaioni. Heb ffyd ac ymddiried yn Nuw, nid yw ein rhagddarbod ein hunain, tros y cnawd, neu trosom ein hunain, ond pechod a ffolineb. "Pob rhoddiad ddaionus, a phob rhodd berffaith oddiuchod y mae, yn disgyn oddiwrth Dâd y goleuni." Iago i. 17. Oddiwrth bwy y disgwyliwn roddiad yn y bŷd ond oddiwrtho ef yn unig? At bwy'r edrychwn, ond atto ef? I bwy'r ymddiriedwn, ond i'r Arglwydd goruchel, yr hwn sydd yn peri ei fendithion ddisgyn arnom fel y gwlith o'r nefoedd?

8. Gofal cymhedrol am ein da, a'n hiechyd, fel y gallom trwyddynt, wneuthur y cyfryw wasanaeth i Dduw ag y mae efe yn ei ddisgwyl. Canys y rhai hyn yw arfau ein milwriaeth yn y bŷd; hebddynt hwy nis gallwn wneuthur na llês, na daioni, na chymmwynas i'n brodyr, na'n cymmydogion.

9. Ymarfer gwastadol o weddi a phob duwioldeb, gan weddio beunydd am y pethau bydol hyn: Pa faint mwy am fendithion ysprydol, i borthi ein heneidiau?

Gweddiwn ynte ar ein Tâd nefol, ar iddo dywallt ei fendithion hyn arnom, gadw oddiwrthym yr hôll ddrygau yr ydym yn gweddio rhagddynt; Ar iddo felly ein digoni a'i fara corphorol yn y bŷd, fel y caffom rhagllaw fwynhau y bara nefol, yr hwn yw ein Harglwydd Iesu Grist, &c.

---

## PREGETH XV.

Luc xi. 4. *A maddeu i ni ein pechodau.*

RHAID yw ystyried, yn gyntaf dim, yn y deisyfiad hwn,

I. Ei drefn.

II. A'i ddefnydd: Y modd, a'r peth yr ydys yn ei geisio.

1. Hyd yn hyn, yn yr hôll ddeisyfiadau o'r blaen, fe'n dysgwyd i weddio am bethau da ymmhob rhyw fôdd, yn gystal er llês y corph a'r enaid. Yma, yr ydym yn dechreu, ac o hyn allan yn myned rhagom, i weddio rhag y drygau y rhai y mae eu hofn a'u harswyd arnom, a hynny nid yn ddireswm ddiachos; Yn gymmaint, a thra byddom yn y cnawd,

nid yw *bossibl* i ni gyrhaeddyd na mwynhau cyflwr perffaith na diogel yn y bŷd: Mor llawn ydym o ammherffeithrwydd a' diffygion, ac wedi ein hamgylchu a pheryglon aneirif.

Y pethau mwyaf yn ein drygu, *ein pechodau*, ein dyledion i Dduw ydŷnt. Dyna'r gwraidd, a ffynnon yr holl ddrygau, sy'n digwydd i'r Creaduriaid. Oni bai pechod, ni fuasai drwg arall yn y bŷd: O hwn, y mae'r drygau ôll yn deilliaw.

Ein pechodau, meddaf, sy'n gwahanu rhyngom a'n Duw, yn ennyn ei lid, yn cyffroi ei ddigofaint i'n herbyn, ac yn peri iddo ein cospi yn ei gyfiawnder, â'i amryw farnedigaethau.

O herwydd hynny y mae ein Iachawdwr Crist, yn ein dysgu ni, yn gyntaf dim, geisio tynny y rhai'n, a'u symmud oddi ar y ffordd; ac i Dduw, ein tâd nefol, bellhau ein *camwedddau* oddi-wrthym. Pe's gallem fôd yn rhydd oddiwrth ein dyledion hyn, ni fyddai raid i ni mor ofni na chystudd, na thrueni, na drwg, na blinder yn y bŷd.

*Gof.* Ond fe a ddywed rhyw un, oni ddylasai hwn ynte fôd yn gyntaf ûn o'r deisyfiadau yn y weddi? Canys, fel y dywed y prophwyd, nid o ran Duw y mae'r rhwystyr. "Wele ni fyrhâwyd llaw'r Arglwydd fel na allo achub, ac ni thrymhaodd ei glust ef, fel na allo

glywed, eithr eich anwireddau chwi a ysgarodd rhyngoch chwi a'ch Duw, a'ch pechodau a guddiasant ei wyneb oddi-wrthych, fel na chlywo." Esai. lix. 1, 2.

O herwydd hynny, o ran y gelyniaeth sydd rhyngom a'n Creawdwr o achos ein pechodau, ni's gallwn na gofyn na derbyn dim daioni yn y bŷd ar ei law, oni chymmoder ni a'n Duw. Dyma'r peth y mae Duw ei hun yn ei ddeisyf arnom ni yn gyntaf; 2 Cor. v. 20. Oni ddylem ninnau o flaen dim geisio'r un cymmod ganddo yntau?

*Att.* Gwir yw, nad yw'r weddi hon, weddi gelynion Duw, ond erfynion ei blant, sydd tan gymmod ag ef, gwedi iddo adferu cyssur a ffafor iddŷnt, yng Nghrist Iesu.

Ond y mae i ni ddyfodfa at ein Duw, ac yr ydym yn gweddio arno nid yn unig o rân *Mabwysiad*, fel yr ym yn blant iddo, ond o rân ein *gwendid naturiol* hefyd, fel troseddwyr annheilwng, a phechaduriaid truain, beunydd yn dyfod yn ôl, yn myned yn ôl llaw yn ein dyledion iddo, ac yn parhâu mewn pechod, tra'r estynner ein dyddiau a'n heinioes i ni.

Ac ar hyn y mae rhill, a threfn y deisyfiadau hyn yn sefyll. Yn y *pedwar cyntaf* yr ydym yn dangos ein hyfder ar ein mabwysiad, ac yn deisyf megis plant i Dduw, ar iddo gyflawni ein holl eisiau, yn gystal er lles y corph

a'r Enaid. Yn y *lleill, yn canlyn*, yr ydym yn dangos (fel y dylem,) ein anhyder arnom ein hunain o rân ein llygredigaeth, gan ddeisyf amddiffynfa, a rhydd-did oddi-wrth y cyfryw ddrygau ag y mae ein bywyd presennol hwn yn gynnefin iddŷnt.

Y drygau hyn a ddigwydd i ni oddi-mewn, ac oddi-allan. *Oddi-mewn*, Gwyniau, chwantau cnawdol, deisyfiadau llygredig. *Oddi-allan*, peryglon oddi-wrth y bŷd a'r cythraul, pob aflwydd, blinder, adfyd, yn digwydd oddi-allan megis heppil pechod, a gweinidogion angau.

Fel hyn megis yn y bendithion a ddysgodd ein Iachawdwr Crist i ni weddio am danynt, yn gyntaf yr *ysprydol*, gwedi hynny y rhai *corphorol*; Felly hefyd yn y drygau yr ydym wrth yr un ddysgeidiaeth yn gweddio rhagddŷnt, yr ydym yn ymosod, yn gyntaf, yn erbyn y rhai a ryfelant yn erbyn yr enaid yn bennaf—ein pechodau; ac wedi hynny yn gweddio rhag y lleill a ddigwyddont i'r corph, neu ynghŷd, i'r corph a'r enaid.

Ond wrth weddio fel hyn rhag y drygau, yr ydym yn cyd-ddeisyf y bendithion cyfattebol iddŷnt, yn gystal ysprydol a chorphorol. Canys maddeuant pechodau, nerth a chadernid yn erbyn profedigaeth, rhydd-did oddiwrth beryglon, a maglau y cythraul, y drwg hwnnw

a'i weinidogion, prif-radau, bendithion arbennig nefol ydŷnt.

"Am hynny, (*medd Mr. Perkin*) nid yw'r "deisyfiad o'r blaen am fara beunyddiol ddim "amgen, na grîs neu gam, i godi ein meddyliau hŷd at y gofynniad hwn o faddeuant "ein pechodau." Canys y neb a roddo ei bwys ar yr Arglwydd am gynhaliaeth corphorol, a fydd barottach i bwyso ar yr un Duw am feddeuant a thrugaredd er iechydwriaeth ei enaid. Ond y neb ni fo ddiammau ganddo y rhydd Duw fara iddo, pa fodd y geill efe fôd yn ddiogel, neu *berswadio* eu hûn, y rhydd Duw faddeuant iddo?

Ac wrth hyn y mae Crist megîs yn dwyn ar gof i ni pa fodd y dylem ni ymarfer y bendithion bydol hynny, bwyd, a diod, a dillad, iechyd, helaethrwydd, cyfoeth; nid amgen, megis cynnorthwyon i'n *cyfiawnhâd*, i'n cyfarwyddo at ein Duw, ac i beri i ni bwyso ar ei drugareddau yng Nghrist Iesu. Canys y bendithion amserol hyn a dderbynir gennym, megis gwystlon ydynt a thystiolaethau o bethau gwell a *ordeiniodd* efe i ni.

Ar hyn yma, megis ar sail, yr adeilada *Jacob* ei wîr grefydd, a'i wasanaeth i Dduw. "Yna yr addunodd *Jacob* adduned, gan ddywedyd, os Duw fydd gyda myfi, ac a'm ceidw yn y ffordd yma, yr hon yr ydwyf yn ei cherdded,

a rhoddi i mi fara i'w fwyttâ, a dillad i'w gwisgo, a dychwelyd o honof mewn heddwch i dŷ fy nhâd, yna y bydd yr Arglwydd yn Dduw i mi." Gen. xxviii. 20, 21.

Fel pe bai efe yn ammodi a Duw ac yn cymmeryd y bendithion *amserol* hyn, bwyd a dillad, a dychweliad mewn heddwch, a chadwraeth ar hyd y ffordd megis yn wystlon o'i *ffafor*, yn ernes cyflog o'i wasanaeth.

Wrth hyn yr oedd, yn ddiammau, yn ddiogel, gan y prophwyd *Dafydd*, fod ei Dduw yn ei garu. " Wrth hyn y gwn, (*medd efe*) hoffi o honot fi, am na chaiff fy ngelyn orfoleddu i'm herbyn." Salm xli. 11. Y pethau da hyn oddi-allan, pa beth ŷnt amgen, nag arwyddion o râs a *ffafor* Duw tuag at ei weision.

| | |
|---|---|
| Yn y geiriau y mae i ni ystyried | 1. Y gofynniad, *Maddeu i ni ein pechodau.* |
| | 2. Yr ammod, tan yr hwn yr ŷm yn gofyn, *Canys yr ydym ninnau yn maddeu, &c.* |

Yn y cyntaf, Y *Gofynniad* y mae cyffes yn gynhwysol, canys yr ydym wrth ofyn maddeuant yn cyfaddef ein bob ni i gyd yn bechaduriaid.

Yn yr ail, *Yr Ammod*, y mae addewid, neu adduned, yn ymrwymo ein hunain i faddeu i'n brodyr.

Nid eill y cyntaf fôd yn wîr ac yn ddiragrith heb ffydd; na'r llall mo'i gwbl-hau heb gariad perffaith.

Yn y Gofynniad mae i ni ystyried yn mhellach ac yn neillduol.

1. Y golygyn, yr hwn yr ydym yn edrych arno, a ni yn gweddio fel hyn.
2. Y weithred o drugaredd a ddymunem, *Maddeu.*
3. Y personau. 1. Gan bwy y ceisiem hyn, *Ein Tad, &c.* 2. I bwy neu tros bwy y ceisiem, *I ni.*

1. Y golygyn, *Hamartías, pechodau,* yn y fan hon; *O'pheilêmata, dyledion,* Matt. vi. 12. *Paraptômata, cwympau, camweddau,* Matt. vi. 14. Yr hon amrywiaeth yn *nhadogaeth* y geiriau, a wnaeth i rai dybied fôd anghyttundeb rhwng yr Efangylwyr, neu o'r lleiaf, fôd rhagor rhwng y pechodau yr ydys yn gweddio rhagddynt. Fel pe bai

1. *Paráptóma,* ddim ond *Peccatum Incogitantiæ, Pechod o Anystyriaeth neu Anfeddylgarwch,* y peth a wnae dyn yn ddiystyr, neu yn anfeddylgar.

2. *Hamartía, Peccatum malitiæ: Pechod rhy-*

*fygus*, yr hwn a wnae dŷn o'i wîr fôdd, er ei fod yn gwybod mai drwg ydyw.

Ond nid yw Crist ei hun yn gwneuthur mor fath ragor rhyngthynt, ond yn arferu'r geiriau yn gyffredin, pob ûn i ddatgan, neu arwyddoccau, pob math a'r bechodau.

'Er hynny yr amryw henwau hyn ar bechod a gymmerir o rân amryw edrychiad arno.

*Hamartia, pechod* y gelwir, fel y mae yn gyfeiliorn, yn myned ar ddidro oddiwrth reol y gyfraith.

*Paráptóma, Camwêdd*, o rân ein ymarweddiad, neu gwrs y bŷd a'n bywyd, yn llithro, ac yn cwympo oddiar lwybrau cyfiawnder.

*O'pheilêma, Dylêd*, gan edrych at Dduw, i'r hwn yr ydym yn ddyledwyr, megis o ufudddod yn naturiol, felly o gospedigaeth, gwedi i ni ffaelio, a dyfôd yn fyrr o wneuthur yr hyn a ddylem o ran ein creadigaeth.

Pechod a elwir yn *ddylêd* drwy gyffelybiaeth; ar ôl dull dynol yn *bargeinio* ac yn ammodi a'u gilydd: O rân fôd gwir ammod rhyngom ni a'n *Duw*: Duw ei hûn yn gyffelyb i'r coeliwr, neu i'r perchen dylêd, a ninnau i'r dyledwyr; y gyfraith i'r rhwymedigaeth, a phechod i'r ddylêd, am yr hwn yr ydym ni tan *fforffeit* o gospedigaeth yn ôl y gyfraith.

Yr ydym yn ddyledwyr i Dduw trwy bechod, nid fel pe bôm yn dylu pechod iddo,

neu yn ddyledus i bechu: (Ie, yr ydym yn rhwymedig drwy'r *gyfraith*, yn y gwrthwyneb, i dalu ufudd-dod iddo.) Ond o herwydd yn niffyg ufudd-dod, neu daledigaeth yn ôl y rhwymedigaeth gyntaf, yr hon a fu rhyngom o'r dechreuad, yr ydym ni trwy bechu yn euog o gospedigaeth neu farn, megis ail ddylêd iddo.

Pwy ni's gwyr arfer y bŷd yn *bargeinio?* Yn gweled dynion beunydd yn ymrwymo tan *ffin*, neu *swm* o arian er cyflawni eu cyfammod. Os torrir y cyfammod, y mae y rhwymedigaeth yn myned yn fforffed, a'r *swm* ynddi yn ddylêd i'w pherchen. Ac yn gyfattebol i hyn,

Ein dylêd cyntaf i Dduw, yr hyn oeddym yn dylu iddo o'r dechreuad, ydyw, *ufudd-dod gwbl-berffaith i'r gyfraith:* I'r hyn yr oeddym yn rhwymedig wrth gyfammod gweithredoedd, tan gosp o farwolaeth dragywyddol. *Quo die comederis, &c.* "Yn y dydd y bwyteych o honaw, gan farw y byddi farw." Gen. ii. 17. Eithr yn niffyg cyflawni y cyfammod, yr ydym yn rhwym i'r fforffed, hynny yw, cospedigaeth dragywyddol. Dyma ein dylêd ni yr awr hon. Ond pechod a elwir yn ddylêd, o herwydd ei fôd yn achos o'r gospedigaeth hon. Pechod a wnaeth hyn o ddylêd neu fforffed.

2. *Maddeu.* Y maddeuant yr ydys yn geisio, ydyw, llawn rydd-did a gollyngdod oddiwrth y rhwymedigaeth a'r ddylêd hon, sef, *euogrwydd*

*pechod*, a'r gospedigaeth y mae yn haeddu. A hyn y mae Duw yn ei wneuthur erom trwy Grist Iesu, gan gymmeryd ei angeu, ei ufudd-dod, a'i ddioddefaint ef, yn iawn trosom, heb gyfrif ein *pechodau* i ni, yn cyfrif ein drwg weithredoedd ni fel pe baent heb eu gwneuthur, yn anghofio ein heuogrwydd ac yn maddeu y gospedigaeth, yn ein gollwng yn rhydd oddiwrthi.

Tri pheth sydd ymmhob pechod i ddâl sulw arnynt, neu i'w hystyried.

I. *Y weithred*, yn yr hwn y gwneir y pechod.

II. Yr *euogrwydd*, brŷch, halogiad, a edy'r weithred yn yr enaid ar ei hôl.

III. Y *gosp a'r dialedd*, y mae'r halogiad, a'r ddrwg weithred, yn eu haeddu.

*Actus transit, macula manet, pœna debetur.* "Y weithred yn *passio*, y brŷchni yn trigo, "a'r gosp yn ddyledus."

Wrth ofyn maddeuant yr ydym yn gweddio yn erbyn *y tri* hyn ynghyd, yn erbyn pob ûn o'r *tri* ar unwaith. Y mae Duw yn maddeu pechod.

1. *Quando actum habet eo loco, ac si non fuisset;* "Pan fo efe yn anghofio y weithred, yn "ei chyfrif, fel pe bai heb ei gwneuthur." At hyn y mae'r ymadroddion hyn yn tueddu. "Ti a deflaist fy hôll bechodau o'r tu ôl i'th

gefn." Esa. xxxviii. 17. Hezekiah wrth alaru. "Efe a ddychwel, efe a drugarha wrthym, efe a ddarostwng ein hanwireddau, a thi a defli ein hôll bechodau i ddyfnderoedd y môr." Micah. vii. 19. "Na chofia Arglwydd ein hanwiredd, &c."

2. *Quando maculam, restituto suo nitori atque integritati animo, eluit.* "Pan fo efe yn golchi ymaith y brych ar bryntni a adawyd "yn ôl, ac yn dwyn yr enaid yn ôl i'w chyf- "lwr a'i glendid cyntaf." At hyn y mae'r prophwyd *Dafydd* yn fynych yn edrych, gan weddio, "Golch fi yn llwyr-ddwys oddiwrth fy anwiredd, a glanhâ fi ag hyssop, a mi a lanheir; Golch fi, a byddaf wynnach na'r eira. adn. 7. Crea galon lân ynof, O Dduw; ac adnewydda Yspryd uniawn o'm mewn, adn. 10."

3. *Quando pœnam debitam remittit.* "Pan "fo efe yn maddeu y gosp, y mae'r ddrwg- "weithred yn ei haeddu."

Ac o ran hyn, y mae'r prophwyd yn gweddio, "Na cherydda fi yn dy lidiawgrwydd, ac na chospa fi yn dy lid." Salm vi. 1. *Illud omne hic oramus.* 'Am hyn ôll y gweddiwn' wrth ddywedyd hyn, *Maddeu i ni, &c.* Gweddiwn a'r i Dduw. 1. Anghofio ein drwg-weithredoedd, eu taflu o'r tu ôl i'w gefn, eu bwrw ymaith, a'i cyfrif, fel pe na's, buasent. 2. Ar iddo olchi ein heneidiau, yn ngwaed Crist,

a'u *glânhau yn llwyr-ddwys*, fel y gosodai efe bob aelod o'i Eglwys yn ogoneddus iddo ei hûn, "heb arno na brycheuyn, na chrychni, na dim o'r cyfryw, ond fel y byddai yn sanctaidd ac yn ddifeius." Eph. v. 27. 3. Ac yn ddiweddaf, ar iddo dynny ymaith y gospedigaeth, fel na ddelo hi byth arnom.

4. A hyn ôll yr ydym yn eu ceisio gan Dduw. Canys *pwy a ddichon faddeu pechoddau, onid Duw yn unig?* Efe yn unig a ddichon gyfiawnhau'r anghyfiawn, lanhau y galon lygredig, fwrw ymaith anwiredd, a throi heibio ei lidiawgrwydd.

Ac nid ydym yn gweddio trosom ein hunain yn unig, ond tros ein brodyr hefyd. Yn yr hyn, megis ag nid ydym yn ein *cyfiawnhâu* ein hunain, felly nid ŷm yn eu *condemnio* hwy chwaith. Ond fel yr oedd Job yn arfer tros ei feibion, felly offrymmwn ninnau offrymmau tros ein brodyr gan ddywedyd yn wîr ofalus ac yn garedigol, *Fy meibion, fy mrodyr, ond odid a bechasant ac a felldithiasant Dduw yn eu calonnau; Maddeu iddynt, O Dduw*, ac i ninnau; a dyro i ni ras i fod yn wîr edifeiriol, ac i fwrw ein baich ar ein Cyfryngwr, yr hwn a ddioddefodd trosom, Iesu Grist ein Harglwydd, i'r hwn, &c.

## PREGETH XVI.

A'r ail ar y testyn: Luc xi. 4.

*A maddeu i ni ein pechodau, Canys nyni hefyd ydym yn maddeu i bob un sydd ddyledwr i ni.*

CHWYCHWI a glywsoch, fôd yn y geiriau ddau beth arbennig i'w hystyried.

I. *Y Gofynniad*, O faddeuant gan Dduw.

II. *Yr Ammod*, tan yr hwn y Gofynnem, fod yn y cyntaf, *Gyffes* yn gynnhwysol; am ein bod wrth ofyn maddeuant, yn cyfaddef ein bod ni i gyd yn bechaduriaid: Yn yr ail, *Addewid*, neu *adduned*, i'n hymrwymo ein hunain i faddeu i'n brodyr.

Gwaith ffydd yw'r *un*, a'r *llall* trwy gariad perffaith a gwblheir.

Fel y dywedais o'r blaen am ddyledion, fôd y 'sgrythur lân yn galw ein pechodau felly drwy gyffelybiaeth: Felly yr awr hon am ddyledwyr, nid amgen pechaduriaid.

Y dyledwyr y mae son am danynt yn y weddi, ydynt, nid y rhai wrth farchnatta a *bargeinio*, sy'n ol llaw a'u cymmydogion, ac arnynt dalu iddynt arian, ŷd, anifeiliaid neu'r cyffelyb: Ond y rhai a wnelont gam neu rwystyr iddynt. Canys nid oes ûn dŷn yn y bŷd, cynddrwg ei 'stâd, cyn-waeled ei gyflwr, yr

hwn ni roddes Duw iddo ar ol ei radd, a'i fesur, lawer o bethau dâ, ni ddylid mo'u dwyn oddiwitho: *Bywyd*, *Enw da*, &c.

A'r neb a ddifenwo, neu a rwystro ei gymmydog mewn dim yn y bŷd a berthyn iddo, sydd *ddyledwr* iddo, am iddo bechu yn ei erbyn: A'r ddylêd á erys yng ngwydd yr Hollalluog, hyd oni wnelo'r troseddwr hwnnw fodloniad i Dduw, ac i'w gymmydog; i Dduw trwy edifeirwch, a thrwy daliad iawn i'w gymmydog.

Ie, heblaw y niweid, drwg, neu rwystyr, a wnelir i neb ar air neu weithred; rhaid i ni feddylied, mai pwy bynnag a esgeulusa ei ddyled-swydd tuag at ei frawd, dyledwr yw: Yn gymmaint ac iddo beidio a'i achub pan allasai, hynny a gyfrifir yn bechod, yn ddylêd arno, yng ngwydd yr Hollalluog.

Yr ydym ninnau yn maddeu i bob un sydd yn ein dylêd: Hynny yw, yr ydym yn maddeu i bob dŷn sy'n gwneuthur cam a ni, yn pechu mewn modd yn y bŷd i'n herbyn; pa un bynnag ai wrth wneuthur y petli ni ddylai, i'n drygu, ai gan esgeuluso ei ddyledus garedigrwydd, a gadael heb wneuthur y weithred ddâ a allasai, i'n cynnorthwyo.

*Cwest.* Ond fe a ddywed rhyw un, os felly, o rân ein pechodau yr ydym fel hyn yn ddyledwyr i'n gilydd, pa fôdd y maddeuwn ni?

Canys "ni ddichon neb faddeu pechodau onid Duw ei hûn yn unig." Marc ii. 7.

*Attebaf.* Ym mhob pechod neu gam-weithred y mae dau beth i'w ystyried. 1. Y rhwystyr, niweid, colled, trwy'r hyn y drygir neb yn ei gorph, neu ei ddâ. 2. Yr anfodlonedd, a'r sarhâad i Dduw wrth drosseddu ei orchymmyn.

Dyn a ddichon roi maddeuant o'r hyn a berthyn iddo ei hûn, y niweid, colled, rhwystyr: Duw sy'n maddeu'r peth a berthyn iddo yntau, yr anufudd-dod i'w ewyllys ef, a'r ammharch iddo oddiwrth ei greadur ei hûn, yn ddiystyr ganddo gyfraith a gorchymmyn ei wneuthurwr.

Megis pan fô neb yn cael enllib gan ddynion anwir yn ei ddifenwi, yn dywedyd yn ddrwg am dano yn gelwyddog; yr hyn sy bechod yng ngolwg Duw a dŷn: Y dyn a ddywedir yn ddrwg am dano a ddichon, ac a ddylai faddeu, cyn belled ac y mae yn berthynasol iddo, hynny yw, yr enllib, y dryg-air, a'r ammharch, y mae efe yn ei gael oddiwrtho; ond am drosseddiad y gyfraith, *Na ddwg gam dystiolaeth,* &c. I Dduw yn unig y perthyn rhoi maddeuant i'r goganwr.

Yn y cyfryw bechodau neu gamweddau, y mae tri pheth megis ynglŷn, a fo rhaid iddŷnt

wrth faddeuant. 1. Cerydd. 2. Dial. 3. Cospedigaeth.

1. Cospi pechaduriaid a berthyn i'r neb a fo mewn goruchafiaeth, i'r Swyddogion, nid i'r rhai di-swydd, ac heb awdurdod ganthynt. Ond nid yw rydd iddynthwy 'chwaith, *faddeu* i'r neb a fynnent ar ôl eu hewyllys eu hunain, eithr taeru neu laccâu ar y gospedigaeth ar ôl rheol y gyfraith a chydwybod Ddâ. Ac yn hyn y mae'n berthynas i'r wladwriaeth, neu i'r llês cyffredin.

2. Am gerydd, y mae ein Iachawdwr yn ein hyfforddi ni, ac yn dangos pa fôdd y dylem ymddwyn tuag at ein brodyr yn pechu yn ein herbyn. A hynny mewn tair o raddau.

I. Yn neillduol, " Os pecha dy frawd i'th erbyn, dôs ac argyhoedda ef rhyngot ti ac ef ei hûn, os efe a wrendy arnat, ti a enillaist dy frawd." Matt. xviii. 15.

II. Yn gyhoedd, o flaen tystion, oni wasanaetha y râdd gyntaf, " Ac os efe ni wrendy, cymmer gyda thi etto ûn neu ddau, fel yng ngenau dâu neu dri o dystion y byddo pob gair yn safadwy." adn. 16.

III. Yn gyffredinol, megis yn esampl i eraill. " Ac os efe ni wrendy arnynt hwy, dywed i'r Eglwys, ac os efe ni wrendy ar yr Eglwys chwaith, bydded iti megis yr Ethnic a'r Publican." adn. 17. Hynny yw, yn ysgymmyn-

beth, yn ddyn ffiaidd, annheilwng o'th gymdeithas, megis pechadur gwrthnysig, anedifeiriol, anghymmwys i fyw ymmysg Cristianogion.

Am gerydd ynte rhaid i ti ei maddeu, ei rhoi heibio; nid gwiw mo'i chynnig pan weli dy frawd yn edifeiriol. Canys i'r pwrpas hwn yn unig yr argyhoeddir y neb a becho, nid amgen, wrth ddangos iddo ei fai, i beri iddo ei weled a'i gydnabod, ac wrth hynny edifarhau: A cherydd nid yw gymmwys i'r edifeiriol, ond yn hyttrach, Cyssur.

3. Am y dial, er ei fôd yn berthynas i Dduw yn unig, megis ag y mae efe ei hûn yn dywedyd, "I mi y mae dial, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd." Rhuf. xii. 19. Deut. xxxii. 35. "I mi y perthyn dial, a thalu y pwyth, &c." Etto y mae i ninnau fodd i faddeu hwnnw; nid amgen, pan fo neb o gariad diragrith, a diniweidrwydd calon, yn dymuno ar Dduw, na chymmerai ddial am y pechod a wnaeth ei frawd i'w erbyn.

Fel hyn y maddeuwch chwithau, gyda Duw, y dial y mae pechod yn ei haeddu: Gan fwrw heibio lid, a chenfigen, a digter: Na thelwch ddrwg am ddrwg, ac na ddymunwch chwaith. Canys pechod yw i chwi ddymuno drwg neu niweid yn y bŷd i neb er iddo ef wneuthur cam. "Na chasâ dy frawd yn dy galon, na

ddiala, ac na chadw lid i feibion dy bobl. Ond câr dy gymmydog megis ti dy hûn : Yr Arglwydd ydwyf fi." Lev. xix. 17, 18. Gwna hyn, ac fe ai cyfrifir yn faddeuant, ac yn ufudd-dod.

Fel pe baem yn dywedyd fel hyn, Anghofia, Arglwydd, ein hanwireddau fel pe na's buasent, ac na chyfrif i ni ein drwg-weithredoedd, fel pe's buasem heb eu gwneuthur, dilëa'r euog-rwydd sydd yn ein pechodau, a thrô oddiwrth-ym y gosp y maent yn ei haeddu, na ddyro ddial i ni am danynt: Canys nid oes gennym na llid, na chenfigen, nag ewyllys drwg i neb a wnelo gam a ninnau: Yr ydym yn gweddio trostynt hwythau sef ein gelynion, ar i ti, O Arglwydd Dduw, anghofio eu camweddau, a'u harbed, a maddeu iddynt, yr ûn modd, ac yr ŷm yn erfyn trosom ein hunain.

Fel hyn y gwelwch fod yn y rhan gyntaf, Gyffes; yn y llall Broffes, neu addewid. O'r ddwy ynghŷd y mae i ni ddysgu ;

1. I gydnabod ein cyflwr gwael, ein gwendid, a'n trueni: Canys wrth hyn, hyspys yw, ein bod ni beunydd yn troseddu, am i'n Iachawdwr ein dysgu i weddio beunydd am faddeuant.

2. Pa beth a ddylem ei wneuthur o ran ein gogwyddiad at bechod, ein parodrwydd i droseddu ; nid amgen, nad orweddem yn ein

bryntni, na thrigem yn wastad mewn pechod; eithr adnewyddu o honom ein cyflwr trwy wir ostyngeiddrwydd ac edifeirwch. Canys yn y tri pheth hyn y mae gwir edifeirwch yn sefyll.

I. Galw arnom ein hunain am gyfrif o'n dyled i Dduw drwy bechu yn ei erbyn.

II. Cyfaddef ein rhwymedigaeth iddo, gan ein hymroi ein hunain i'w drugaredd.

III. Darostwng ein heneidiau ger ei fron, a gofyn maddeuant er mwyn Crist Iesu.

3. I bwy, ac ar pa beth yr ymddiriedwn, ac ymsefydlwn ein calonnau ym mhob cyflwr, blinder, cystudd, &c.? ar *drugaredd* ein Tâd nefol yn ei Fab Iesu Grist er maddeuant o'n pechodau.

4. Yn gymmaint a bod hon yn weddi i'r etholedigion, a'r ffyddloniaid, ac yn anghenrheidiol iddynt, nyni a ddysgwn nad yw'r cyfiawnaf yn ein mysg yn cyflawni'r gyfraith. "Canys mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro." Iag. iii. 2.

A chan wybod fôd Crist yn gosod y weddi hon i bawb, a bod i'r gwaethaf, i'r dŷn mwyaf ei bechod hawl ynddi, i'w harfer mewn ffŷdd er llês i'w enaid; yn hyn y mae'i ni gyssur, a megis cyfaredd yn erbyn anobaith, yr hwn sydd yn fynych yn dyfôd yn erbyn llawer ûn, yn pechu yn ddirfawr, neu yn fynych. Canys y mae ein Iachawdwr yn peri i ni ofyn madd-

euant am ein pechodau, pa faint, neu nifer bynnag a fo arnynt. Ac yn ddiamwnau, yr hwn a barodd i *Betr*, ac i ninnau, faddeu i eraill, nid hyd *saith waith*, onid hyd *ddengwaith a thriugain saith waith*, Pa faint mwy y maddeu efe ei hûn i'r edifeiriol?

5. Y dylem ni ystyried, fôd Crist yn rhoi y rheswn o'n blaen, *Canys*, &c. megis yn ymosod yn erbyn rhagrith ein calonnau llygredig, y rhai ydym yn gofyn, ac a fynnem gael maddeuant gan Dduw, aç etto yn anewyllys-gar i *faddeu* i'n brodyr, neu ymadael a'n pechodau. Eithr yn yr ammod hwn y cynhwysir yr addewid a soniais i am dano o'r blaen: Nid amgen, ein bod yn addaw, fel y dylem, fôd yn drugarogion i'n brodyr, os disgwyliwn drugaredd a maddeuant gan Dduw.

6. Lle y mae Duw yn rhoi maddeuant, y mae efe hefyd yn rhoi *grâs* i edifarhau: Nid yw efe ûn amser yn dangos ei drugaredd i neb gan faddeu ei bechodau, ond tan ammod o *edifeirwch*. Yn gymmaint; gan hynny, ag iddo beri i ni weddio o ddŷdd i ddŷdd am faddeuant i'n hedifeirwch: Onid ê, ni fydd i ni na budd, na llês o'n holl weddiau.

7. Fôd i ni yn hyn dystiolaeth neillduol yn ein cydwybodau, ein bod ni tan râs, ac wedi ein cyfiawnhau, os gwelwn fôd ynom "y meddwl yma, yr hwn oedd hefyd yng Nghrist

Iesu;" Phil. ii. 5, sef, ein bod yn ewyllysgar i faddeu i'n gelynion, ac i weddio trostynt, fyni a allwn fôd yn hyderus ac yn ddiammau gennym y maddeu Duw i ninnau er dioddefaint ei Fâb Iesu.

8. Ymogelwn wrth hyn, rhag i ni ddyfod un amser i weddio a chalonnau *anghariadus.* Nid gweddio yn iawn y mae'r llidiog a'r cenfigennus, wrth ddywedyd y geiriau hyn; ond *rhegu* yn hytrach yn lle gweddio. Canys wrth ddeisyf dial i'w elynion, y mae efe yn cyrchu dial ar ei ben ei hûn: Fel pe bai efe yn dywedyd, O Dduw, na faddeu i mi, ac nid wyf yn ceisio gennit faddeuant o'm pechodau; Canys ni faddeuaf i byth i'r gŵr a'r gŵr sy'n fy nylêd, nes gweled dial arno.

O fy mrodyr, na *themptiwn* ein Tâd nefol, na ryfyged neb o honom ddyfod o'i flaen, a dywedyd y geiriau hyn, heb gariad yn ei galon, rhag iddo bentyrru dial iddo ei hûn, wrth ei ddymuno i arall, a dywedyd cabledd yn lle gweddi.

Yn ddiweddaf ôll, rhown y parthau hyn ynghŷd, ac wrth iâwn arfer a'r deisyfiad hwn o'r weddi, mae i ni fodd a ffordd i gynnal heddwch tuag at Dduw. 1. Trwy weddio arno beunydd am faddeuant. 2. Trwy ddilyn heddwch a phawb, gan faddeu iddynt hwy yn garedigol. Yn yr un deisyfiad yma yr ydys yn ceisio

maddeuant, ac yn ei addaw. Na fydded ein ymarfer yn anghysson a'n gweddiau, na'n gweddiau yn anghyttûn a'n ymarweddiad: Edrychwn felly ar ein brodyr, megis ag y dymunem ni i Dduw edrych arnom ninnau, &c.

---

## PREGETH XVII.

Luc xi. 4. *Ac nac arwain ni i Brofedigaeth.*

Y Deisyfiad diweddaf oll, yn yr hwn y mae i ni ystyried,

I. Y. *Cyf-rwym*, neu'r cyssylltiad, yn y gair cyntaf, *Ac*, yr hwn sy'n cydglymmu'r dymuniad hwn a'r lleill o'r blaen.

II. *Y deisyfiad* ei hûn, a'i ddefnydd, y peth yr ydys yn ei geisio.

1. Am y cyntaf, yn gymmaint a bod hwn yn ddiweddaf peth o'r hyn a geisiem gan Dduw yn y weddi hon, ar gair *Ac*, megis yn ddiwedd-glo arno, ac yn cyd-rwymo'r cwbl, yr ydym ni wrth hynny yn cyfrif, mai trwy hyn y cyflawnid y weddi, ac yn gweled mo'r angenrheidiol yw'r ymwared hwn, i gynnal, ac i amddiffyn yr holl radau eraill, a weddiasom am danynt yn y deisyfiadau o'r blaen: Ac wrth hynny nyni a ddysgwn,

1. Fôd Duw yn disgwyl parhau o honom yn ddiysgog yn yr hôll radau, a'r gweithredoedd

dâ, trwy yr hyn y sancteiddir ei enw, yr helaethir ac y gogoneddir ei deyrnas, y cwblheir ei ewyllys, y cyfaddefir, ac yr ymddiriedir ar ei ragddarbod, a'i drugaredd. Canys pe bai i neb gael yr holl fendithion hyn, y mae efe yn eu ceisio yn y *deisyfiadau* o'r blaen, etto, oni pharhao ynddynt hyd y dîwedd, os bydd iddo gael ei lwyr orchfygu a phrofedigaethau, a myned ar ôl ei chwantau llygredig, a throi heibio i wneuthur drwg, pa leshâd a wna'r holl fendithion hynny iddo? "Nid y neb a ddywaid Arglwydd, Arglwydd, a â i mewn i deyrnas nefoedd. Eithr y neb a barhao hyd y diwedd, hwnnw a fydd cadwedig." Matt. xxiv. 13.

Gwrandewch gan hynny beth y mae'r Yspryd yn ei ddywedyd wrth Angel Eglwys Ephesus. Dat. ii. 2, 3, 4. "Mi a adwaen dy weithredoedd di, a'th lafur, a'th amynedd, ac na elli oddef y rhai drwg, a phrofi o honot y rhai sy'n dywedyd eu bod yn Apostolion, ac nid ydynt, a chael o honot hwynt yn gelwyddog.

"A thi a oddefaist, ac y mae amynedd gennit, ac a gymmeraist boen er mwyn fy enw i, ac ni ddiffygiaist; eithr y mae gennyf beth yn dy erbyn, am i ti ymadael a'th gariad cyntaf. Cofia gan hynny o ba le y syrthiaist ac edifarha."—Er maint ei ddoniau a'i ganmoliaeth, am iddo fod yn hyn yn ôl, nid oeddynt ddim lleshâd iddo heb barhâd ac edifeirwch.

Yr un peth y mae'r Arglwydd yn ei ddywedyd trwy'r prophwyd, Ezec. xviii. 24. "Pan ddychwelo y cyfiawn oddiwrth ei gyfiawnder, a gwneuthur yn ol yr hôll ffieidd-dra, a wnelo'r annuwiol, a fydd efe byw? Ni chofir yr hôll gyfiawnderau a wnaeth efe; yn ei gamwedd yr hwn a wnaeth, ac yn ei bechod, ynddynt y bŷdd efe marw."

2. Meddyliwch wrth hyn, a bydded côf gennych, pa rai ydynt y mae profedigaethau fwyaf yn eu canlyn, ac yn eu herlid. Nid amgen, y rhai a ymosodent "i geisio teyrnas Dduw, a'i gyfiawnder, sancteiddio ei Enw, gwneuthur ei ewyllys, ymddiried yn ei raglumiaeth, a gorfoleddu yn ei drugaredd, &c." Y rhai gorau, sy'n gweddio fel hyn yn ddyledus, ac yn ymarfer a phob duwioldeb, a rhinweddau dâ, y mae'r cythraul yn eu cenfigennu, ac wrth hynny yn eu herlid, ac yn ymosod yn eu herbyn ag amryw brofedigaethau.

O herwydd hyn sy'n digio, ac yn cynneu llid y *llew rhyadwy* yn erbyn y cyfiawn, am eu bod gwedi diangc allan o'i fagl, a'i gaethiwed, trwy faddeuant o'u pechodau, sancteiddiad yr Yspryd, a'u hufudd-dod i ewyllys Duw: O herwydd hyn y mae efe yn ymosod a'i holl egni, i'w dwyn hwynt eil-waith tan ei rwyd a'i balfau.

Nid ellir mwynhau bendithion Duw, na chael grâs na *ffafor* ganddo, heb genfigen a

llid, ae erlid gan *ddiafol*. Am hynny, rheittiaf dim i ni weddio fel hyn, megis yn orphen i'n holl ddeisyfiadau, *Ac nac arwain, &c.*

3. Ystyriwch pa fodd y mae'r dymuniad yma yn canlyn yn ebrwydd ar ol gofyn maddeuant, ac megis gwedi ei gyd-rwymo, i ddangos fod profedigaethau cryfion, megis ynglŷn wrth gyfiawnhâd, a maddeuant pechodau. A'r achos yw, yr un ag a glywsoch o'r blaen, sef, cenfigen a llidiawgrwydd y gelyn.

Canys fel y mae llawenydd yng ngwydd Angylion Duw, sef yn y nefoedd, am bob pechadur a edifarhao, megis y mae yn eglur wrth ddamhegion y ddafad, a'r darn arian a gollasid, a'r mab afradlon a ddychwelodd. Luc xv. Felly yn y gwrth-wyneb, y mae galar, ac wylofain, a chyd-fradwriaeth ystrywus yn uffern, am bob pechadur a ddiango oddi tan gaethiwed y tywyllwch; Diafol a'i Angylion yn bwriadu, ac yn ymegnïo ymmhob modd i'w ddwyn eilwaith tan eu rhwydau, yn ei *arwain i brofedigaeth.*

Oddiwrth wybod, ac ystyried hyn yn ddyfal, y bydd cyssur nid bychan i gynnal y wan galon, yr hon sydd mewn perygl o'i bwrw i lawr hyd anobaith trwy brofedigaethau. Canys profedigaeth sydd yn ddilynol i râs Duw, a'n corphoraethiad yng Nghrist Iesu. A chyd ag y parhâo neb yn y cyflwr bendigedig hwnnw,

rhaid iddo ddisgwyl dioddefiadau. "Ie, a phawb a'r sy'n ewyllysio byw yn dduwiol yng Nghrist Iesu a erlidir." 2 Tim. iii. 12. Eithr Duw ei hûn a rydd ychwaneg o râs a nerth i ddioddef oni ddiffygiwn, "ac ni âd ein *temptio* uwch-law yr hyn a allom, eithr a wna yng-hyd a'r *temptasiwn* ddiangfa hefyd, fel y gallom ei ddwyn." 1 Cor. x. 13.

Pe byddem ni fodlon i ymadael a'n braint yng Nghrist, a'n gwasanaeth i Dduw, nyni a allem fôd yn llonydd, heb fôd yr ûn o'r drygau hyn yn digwydd i ni.

A hyn a ddylent hwy ystyried hefyd, y rhai ydynt yn tybied ynddynt ei hunain eu bod yn ddiogel, heb ganfôd yn eu calonnau, lithiadau pechod, drwg feddyliau, a'r dychymygion y mae Satan yn eu cyffroi ynddynt. Y rhai hyn yn ddiau ydynt bob amser yn yr annuwiol, ond megis wrth eu bodd, ac yn ddifyrrwch iddynt, yn ymarfer o'u hanwiredd; nid profedigaethau ynddynt hwy, lle nid oes na chais, nac ewyllys i'w gwrth-wynebu. Ond i'r ffyddloniaid, i'r rhai duwiol, rhuthrau nerthol ydynt yn erbyn eu ffydd, a'u hymddiried, yng Nghrist Iesu.

Ymmhellach, yr ydys yn cyd-glymmu ein dymuniad yn erbyn profedigaethau a'r weddi am faddeuant o'n pechodau, i ddangos, ac i hyspysu i bawb ei ddyled-swydd, hynny yw; I fôd yn wiliadwrus i ochelyd pob achlysur

pechod o hyn allan, fel yr ydys yn ofalus i ofyn maddeuant a thrugaredd am yr hyn aeth heibio, ac a sydd yn pwyso eusoes ar ei gydwybod. Megis ac y dymunem i Dduw anghofio ein hên bechodau, felly y dylem ninnau gofio ein gwendid a'n breuolder ein hunain, a bod yn ofalus, i ymarfer a phob modd i ddirymmu nerth pechod, fel na chodo eil-waith ynom; A'r unig fodd i gyflawni hyn yw, ceisio nerth, amddiffynfa, ac ymwared, gan ein Tâd nefol, gan ddywedyd, *Nac arwain ni, &c.*

*Yr ail ran.*

II. AM y peth'ei hûn, neu ddefnydd y rhan hon o'r weddi, nid gwaeth pa ûn a wnelom o'r geiriau ai un, ai dâu o *ddeisyfiadau*. Os un ydyw, mae dwy ran o honaw (a'r mawr llês yn ddau-ddyblyg) yr ydys yn gweddio am dano, sef, Nawdd, neu amddiffyn, ac ymwared: neu o'r lleiaf dim, dau fath a'r ymwared, oddiwrth brofedigaethau a phob drwg arall.

*Petimus ne tentemur; Si vero tentemur, ut liberemur.* Paræus: in Matt. "Gweddio yr "ŷm, na ddelo profedigaeth neu ddrwg yn y "bŷd yn agos atom; neu os Duw a'i myn, "fôd iddo ddyfod, a phwyso arnom; ar iddo "ef roddi i ni ymwared amserol oddiwrtho."

Yn y rhan *gyntaf* o'r deisyfiad yr ydym yn gweddio yn erbyn *temptasiwnau* pechod, yn ein cyffroi a'n hannog i bechu; y rhai ydynt

*Mala interna cum quibus filiis Dei est lucta continua*; " Drygau oddi fewn yn erbyn y rhain " y gerfydd i blant y deyrnas ymdrechu yn " oestadol."

Yn yr *ail* y gweddiwn rhag drygau oddi-allan, cystuddiau, anghenion, cyfyngderau, yn digwydd i bawb tra bônt yn y babell, neu'r corph llygredig hwn.

Dau fath sydd ar *Brofedigaeth*, yng nghrybwyll yn yr Ysgrythur Lân, Dâ a Drwg, un oddiwrth Dduw, a'r llall oddiwrth y Drwg hwnnw, sef, y Cythraul, y Dâ er profiad, y Drwg yn tueddu at farnedigaeth, i ddistryw.

Y cyntaf o Dduw ei hûn y mae, i brofi dyn, a'i chwilio fel y gwnelo ef yn hyspys iddo ef ei hûn ac i eraill, pa beth sydd yn ei galon. Canys Duw ei hûn a ŵyr cyn chwilio, cyn iddo ei brofi. Profiad ein ffydd, a'n amynedd tuag at Dduw. *Tum ut ea quâ præditi sumus, manifesta evadat virtus, tum ut amplior illa & ampliori digna præmio reddatur. L. B.* " I " amlygu y rhâdau, a'r rhinweddau dâ sydd " ynom, a'u gwneuthur i gynnyddu fwyfwy, " a chael eu gwobrwyo yn helaethach."

Am y fath yma y dywaid, St Iago p. i. 2. " Cyfrifwch yn bôb llawenydd, fy mrodyr, pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau. Gan wybôd fod profiad eich ffydd yn gweithredu amynedd. &c." Fel hyn y profodd Duw

Abraham. Gen. xxii. 1. "Gwedi y pethau hyn y bu i Dduw brofi Abraham, i aberthu ei fáb:" *ut fides ejus & obedientia illustrior redderetur*; "i'w gwneuthur yn eglur ac yn esampl i bawb oll."

Fel hyn y *profodd* Duw yr Israeliaid "yn Massah, gan gynnhennu a hwynt wrth ddyfroedd Meribah." Deut. xxxiii. 8. I ddangos eu cyndynrwydd. A'r un modd y profodd efe hwynt trwy "gau Brophwydi." Deut. xiii. 3. A'r rhai hyn i gŷd, profedigaethau dâ ydynt, canys oddiwrth Awdwr dâ, o Dduw y maent, ac i bwrpas Dâ, er lleshâd i'w weision, ac eglurhâd ei ogoniant ei hûn.

Y drwg ydyw cyffroad oddi-fewn, neu oddiallan, i ryw weithred anghyfiawn, bechadurus: Cynnyrfiad meddwl, hûd, neu annog, trwy'r hyn y tywysir dyn i bechu.

Am y fâth yma hefyd y dywaid yr un Apostol; Iag. i. 13. "Na ddyweded neb, pan demptier ef, gan Dduw i'm temptir. Canys Duw ni's gellir ei demptio â drygau, ac nid yw efe yn temptio neb. Canys yna y temptir pob un, pan y tynner ef ag y llithier gan ei chwant ei hûn." adn. 14. *Peiráső, utrobique.*

Yn y modd yma y profodd, neu y temptiodd Satan ein Iachawdwr, *ad diffidentiam, contemptum Dei, & Idololatriam*. Matth. 4. "I anymddiried, dirmyg ar Dduw, ac eilun-add-

oliath." Fel hyn y mae efe yn ein *temptio* ninnau, cyn belled ac y mae Duw yn rhoi cennad iddo: Ei waith a'i orchwyl priodol yw, o achos pa un y gelwir efe. *Ho Peirásón, y temptiwr.*

Y cyntaf, meddaf, sydd o Dduw, a'r ail oddiwrth y gelyn. Ac etto yn yr un gwaith, fe ddichon Duw gael ei brofedigaeth, a'r drwg hwnnw ei *demptasiwn*, megis yng nghyflwr *Job.* Yn ei gystudd a'i aflwydd, llawer modd, a llawer gwaith, y cynhyrfwyd ei Yspryd i anoddef, anymddiried, a grwgnach yn erbyn Duw: Ac o ran hynny y mae efe ei hûn yn dywedyd; "Efe a edwyn fy ffordd, ac wedi iddo fy mhrofi, myfi a ddeuaf allan fel yr aur." Job xxiii. 10.

Duw a roesai gennad i Satan wneuthur hyn iddo er ei brofi, er nad oedd y cyffro oddiwrth Dduw, ond oddiwrth y gelyn. Y rhai hyn ydynt y profedigaethau yr ydys yn y geiriau hyn yn gweddio rhagddynt.

Fe'n *temptir* ni mewn dwyryw foddion. { 1. Oddi-fewn. 2. Oddi-allan. }

*Nunc rerum prosperarum dulcedine, nunc adversarum molestiâ.* "Weithiau trwy felyswedd hawdd-fyd, weithiau trwy flinder adfyd."

Oddi-allan "i'n *temptir* gan y *temptiwr* ei hûn, 1 Thess. iii. 5. a'i weinidogion, dynion anwir: Dynion anhywaidd a drygionus, am y rhai y mae sôn." 2 Thess. iii. 2.

Oddi-fewn, "Yna y *temptir* pob un (medd St. Iag. i. 14.) pan y tynner ef, ac y llithier, gan ei chwant ei hûn." Ond y neb sydd a meddiant ganddo ar ei ewyllys ei hûn, ac yn gallu gorchfygu y gelyn o'i fewn, sef ei chwant, nid rhaid iddo mor ofni, y dichon na'r bŷd, na'i dywysog, ei ddrygu.

Canys oddieithr i'n chwantau ein hunain ein hûdo, yr ydym yn ddiogel; ac hawdd a fydd ymgadw oddiwrth y gelynion eraill oddi-allan. A'r neb ni faglwyd, ac ni thywyswyd i bechu, ac anghofio Duw yn ei hawddfyd, ac helaethrwydd, anhawdd y gorchfygir trwy adfyd, a chystuddiau.

*Non id oramus, ne tentemur;* "Nid hyn yr ym yn gweddio na'n *temptier* fyth." Gormod diofalwch fyddai: ac nid ŷm yn gobeithio mo hynny tra bôm yn y byd hwn. Ni chymmerth ein *Iachawdwr* gymmaint a hynny arno ef ei hun, "wedi ei *demptio* ymmhob peth yr un ffunyd a ninnau etto heb bechod." Heb. iv. 15. *Sed ut non tradamur non inferamur, non superemur. Aug:* Ond gweddiwn fel na'n traddoder i Satan, na'n gorchfyger yn ein profedigaeth: Hynny yw, rhag i Dduw, ein rhoddi ni i fynu (fel y gwnaeth i'r cenhedloedd gŷnt) "yn nrhachwantau ein calonnau." Rhuf. i. 24. Ie fel y gwnaeth ef i'r Israeliad hefyd. "Yna y gollyngais hwynt yng nghyn-

dynrwydd eu calon, aethant wrth eu cynghor eu hunain." *medd* Duw eu hun trwy'r Prophwyd. Salm lxxxi. 12.

Gweddiwn ar Dduw, fel na adawai ein "*temptio* uwchlaw yr hyn a allem, eithr ar iddo wneuthur ynghŷd a'r *temptasiwn* ddiangfa, hefyd, fel y gallem ei ddwyn." 1 Cor. x. 13.

Fel hyn y mae'n Hiachawdwr cyn ei ddioddefaint yn annog ei ddisgyblion, "Gwiliwch a gweddiwch fel nad eloch i brofedigaeth." i. e. *Ne imminens scandali tentatio vos superet & dejiciat;* "Rhag i'r rhwystyr a'r brofedigaeth "oedd ar ddyfod arnynt wrth ei ddal ef, a'i "arwain ymaith, eu gorchfygu hwynt, a'i "digalonni." Megis yn ddiau y rhwystrwyd hwynt oll y noson honno o'i blegyd. A *Phedr* a'i gwadodd yn llwyr deir-gwaith.

Mewn dwy fodd y gwna Duw, nad elom i brofedigaeth.

1. Yn gyntaf, gan dosturio wrth ein gwendid, nid yw efe yn gadael i Satan ddyfod yn agos attom, nag i'r brofedigaeth ein cyffwrdd.

2. Yn ail, pan fo'r *temptiwr* gwedi ein hannog a'n cyffroi i bechu, a Duw er amlder ei drugaredd, yn ein hachub o'r fagl, ac yn rhoi grâs a nerth i orchfygu y *temptasiwn.*

Fe a ddywaid yr ysgrythur Lân fod Duw *yn ein harwain i brofedigaeth*, nid fel pe bai hynny waith neu ewyllys iddo, *Nid yw Duw yn*

*temptio neb*, nid efe sy'n peri'r pechod, na'r cyffroad, neu'r llithiad iddo. Ond o ran nad yw efe yn ei gyfiawn farnedigaeth yn rhoddi grâs a nerth i wrthwynebu, a sefyll yn erbyn y *temptasiwn*. A phan fo Duw yn 'gwneuthur' hynny, yn attal ei law a'i râs i'n cynnal, nid yw *bossibl* na syrthiem yn ein gwendid, ac na'n gorchfyger gan y brofedigaeth leiaf. Canys, nid ŷm ni ddim ynom ein hunain, heb na nerth na grym, na chryfdwr ynom: Ond ein digonedd sydd o Dduw. A thrwy ei Râs ef yr ydym, yr hyn ydym.

Gwir yw, allu o ddyn naturiol o hono ei hun, ysgatfydd, wrthwynebu rhyw fath a'r brofedigaeth, nid amgen, pan fo efe yn * hygwyddach, neu barottach i ryw bechod arall, ac yn dewis o'r ddau *ddrwg*, hwnnw sy hôff, neu well ganddo, ac ymwrthod a'r llall. Megis y rhai a yngadwant rhag godineb, neu'r cyffelyb, er cael clôd gan ddynion, a thŷb y byd eu bod yn ddiwair ac yn onest, hynny yw, yn gochelyd un, i syrthio ar fai arall. Neu pan fo'r gŵr ar ryw ddrwg-orchwyl arall, heb gael mo'r ennyd i ymwrando ar y brofedigaeth.

Ond yn ddiau ac yn hollawl orchfygu *temptasiwn*, nid yw *bossibl* i neb heb briodol râs Duw, ei nerth a'i amddiffynfa.

Fel hyn y dywedir, fod Duw yn arwain i brofedigaeth, pan fo efe yn ei gyfiawn farn

* Tueddol i syrthio.

yn tynnu yn ol, ac yn attal ei law a'i râs, trwy'r hyn yn unig i'n cedwir rhag troseddu, ac i iechydwriaeth. Megis y neb adawai ei gydymmaith mewn dyfn-ddwfr, ac yntau heb fedru nofio, a ddywedir mewn modd, ei fod yn achos o'i farwolaeth, er iddo ddiangc rhag ei berygl ei hun.

*Peccare qui non impedit cum potest, facit.* "Y neb ni lestair bechu, pan fo efe yn gallu, sy'n peri." Duw, o ran ei allu, a ddichon achub pob rhyw ddŷn, ymmhob math a'r brofedigaeth: Ond o ran ei gyfiawn farn, a doethineb ei *ragluniaeth*, nid yw efe yn gwneuthur hynny, ac ni wna chwaith; ac am hynny, er nad yw efe yn llestair i ni bechu, nid yw, fel dyn yn euog, nag yn achos o'n pechodau.

*Pendemus ex naturæ Corruptione, proni ad peccata, ad assiduos casus, & ruinas proclives.* "Ymddibynnu yr ŷm ar lygredigaeth anianol, megis cleddyf trwm ar fain edef yn hygwymp, a'n pwys, a'n gogwydd at anwiredd, nôs a dydd, awr ac ennyd ar gwympo." Nid yw *bossibl* na syrthiem, oddieithr i *Dduw* ein cynnal a'i law ei hun. A'n gwendid yma, y mae ein Iachawdwr yn coffau i ni yn y rhan hon o'i weddi.

Ond weithiau y mae Duw yn ein harwain ymmhelläch i brofedigaeth, wrth gospi pechod a phechod, a chyfeiroi dynion *anhywaudd* a

drygionus, neu angylion drwg, i ddrygu drwg-weithredwyr.

Pedair grâdd sydd mewn profedigaeth, trwy'r hyn y mae yn myned ymlaen rhagddo, hyd oni ddyeco'r dyn i ddistryw; (oddieithr i Dduw ei luddias a'i dorri ymaith cyn ei berffeithio.)

1. *Dychymyg*, pan fo'r galon yn ymddwyn, ac yn myfyrio rhyw feddwl drwg, naill a'i trwy waith Satan yn ein cynhyrfu, ai yn codi o hono ei hûn o achos llygredigaeth, a'n gogwyddiad i ddrygioni.

2. *Boddhau*, ar ddrwg feddwl gwedi ei dderbyn yn y galon, yn rhyngu bodd yr ewyllys, ac yn ddigrifwch i'w wyniau.

3. *Cydsynnio*, pan fo'r galon yn ymroi i'r drwg-feddwl ac yn bwriadau o'i gwblhau.

4. *Perffeithio neu Gwbl-hau*, pan fo'r ddrwg-weithred trwy fynych bechu yn myned yn arferedig, a'r pechadur wedi gwneuthur *cyngrair* neu gyfammod a marwolaeth, yr hwn hefyd a fydd yn gyflog iddo yn y diwedd.

Yn y râdd *gyntaf* a'r *ail*, y dywedir i'r dyn gael ei *demptio* yn unig, heb fod mor gormod bai arno. Canys er bod y meddylfryd hwnnw, a'r digrifwch ynddo, yn ddrwg o honynt eu hunain; etto lle bônt yn cael eu gwrth-wynebu, a'u gyrru yn ol trwy gynnorthwy *grâs Duw*, nid ŷnt yn gadael *halogiad* yn y bŷd yn

eu hôl, mwy nag oedd o'r blaen yn y llygredigaeth naturiol. Ond yn y *drydydd*, sef, wrth gyd-synnio y mae'r *temptasiwn* yn ymaelyd, ac yn cymmeryd meddiant ynddo; ac yn y *bedwerydd-rádd*, trwy ymarfer a'r ddrwg weithred, f'ai dygir ef yn gaeth i berffeithiad pechod.

Fel hyn, gan hynny, y mae Duw yn arwain i brofedigaeth, pan fô efe gwedi gadael dyn i'r drwg-feddwl a godo, neu a fwrir yn ei galon, hyd iddo gydsynnied ag ef, a myned rhagddo i ymarfer ag anwiredd.

Y mae'r brofedigaeth ynom ni yn siccr, er i ni ymosod yn ei herbyn, a'i gwrthwynebu, a gyrru'r *cythraul* yn ei ôl: Ond pan fôm gwedi cyd-synnio, a bwriadu ar ei wneuthur o hynny allan, yr ydym ni yn y brofedigaeth, tan gaethiwed y *temptasiwn.*

I'r hyn y mae geiriau'r Apostol yn gyttûn. 1 Tim. vi. 9. "Y rhai sydd yn ewyllysio ymgyfoethogi sydd yn syrthio i brofedigaeth, a magl, a llawer o chwantau ynfyd a niweidiol, y rhai sy'n boddi dynion i ddinistr a cholledigaeth."

Y mae golud a chyfoeth yn dwyn profedigaeth ynddynt yn wastadol; Satan a thrachwant, yn hustyng beunydd, gymmaint o ddaioni a geir ei feddiannu mewn helaethrwydd. Am hynny, meddant, bryssiwch, ceisiwch mewn

pob rhyw fôdd ymgyfoethogi, fel y galloch ddywedyd gyda'r gŵr goludog hwnnw, yn yr Efengyl, wrth ei enaid, "Fy enaid, y mae gennit ddâ lawer wedi eu rhoi i gadw tros lawer o flynyddoedd, gorphwys, bwytta, ŷf, bŷdd lawen." Luc xii. 19. Pwy ni's gwŷr fod hyn yn wîr, fod pob un yn cael ei *demptio* fel hyn, ac yn wŷch ac yn ddigrif gan ei galon feddwl am yr esmwythdra, a'r llawenydd, sydd mewn amlder a golud; ond etto hyd yn hyn, nid yw'r *temptasiwn* ond yn y gŵr yn unig, tra fo efe heb gydsynnied iddo, heb fwriadu, a cheisio mewn pob rhyw fôdd ymgyfoethogi. Eithr gwedi iddo ymroi i hynny, y mae efe bellach gwedi ei arwain i'r brofedigaeth, gwedi ei ddal a'i faglu ynddo.

Yr oedd y rhwyd, y fagl wedi ei gosod yn y cyffroad cyntaf; a'i digrifwch yn y lleill; y mae'r helfa gwedi dyfôd iddo; a'r gŵr a fo gyttûn a phechod, ac yn ymbarottoi i'w wneuthur, sydd eusoes yn hollawl tan gaethiwed.

*Potest quis resistere cuicunque tentationi Diabolicæ, si simpliciter & purè velit, absque ullâ admixtione voluntatis.* Gul. Paris. "Fe a allai "dŷn wrthwynebu pob *temptasiwn* dieflig, "pe's mynnai yn llwyr, mewn symlrwydd cal-"on, heb fod ynddo ddim o'r ewyllys drwg "yn gymmysg." Canys ni ddichon neb ymroi

neu ufudd-hau i *demptasiwn* yn y byd yn erbyn ei *ewyllys ei hûn.*

Eithr yr hyn yma, sef bod i ddŷn bûr ewyllys ac hyder i wrthwynebu profedigaeth, ni ddichon mo'i gael, o hono ei hûn: Ond trwy ddawn, a chynnorthwy grâs Duw yn unig.

*Præter Dona Gratiarum & Virtutum, ipsa Dei Protectio & Custodia est necessaria Sanctis, ut tentationibus resistant.* "Ie, heb law doniau "grâs a rhinweddau da yn gweithio ynom, y "mae'n rhaid i'r ffyddloniaid wrth nawdd, "ymgeledd, a chadwriaeth Duw, i wrth-"wynebu profedigaeth." Nid yn ddiachos, gan hynny, y dylem ni ar ol y ddysgeidiaeth hon, *weddio* am danynt, a bod o'r deisyfiad hwn yn fynych yn ein genau, yn oestadol yn ein calonnau;—Bydded dy nawdd *O Dduw*, a'th gadwraeth beunydd arnom, a'th râs a'th Ysbryd ynom, fel nad elom i brofedigaeth.

Llawer math a'r gynnorthwyon sydd gan Dduw i achub ei eiddo rhag iddynt fyned i mewn i brofedigaeth. Eithr yn gymmaint a'u bod hwynt yn aml, nid ellwch yr awr hon mo'u dwyn: Disgwyliaf yn hytrach ryw amser cyfaddas i draethu am danynt yn helaethach. I'r Duw mawr Hollalluog, tragywyddol, y byddo gogoniant, &c.

## PREGETH XVIII.

Ar yr unrhyw destyn: *Ac nac arwain, &c.*

CLYWSOCH hŷd yn hyn, y fath brofedigaethau yr ydys yn gweddio rhagddynt; nid y rhai da sydd o Dduw, ond y rhai drwg oddiwrth y cnawd, y byd, a'r cythraul; a'r rheini o bob tu, oddi-fewn, ac oddi-allan; a thrwy bob môdd yn ein hudo, ac yn ein tynnu oddiwrth ein gafael ar Dduw, a pheri i ni bechu yn ei erbyn ef.

Clywsoch hefyd y graddau trwy y rhai y mae'r brofedigaeth yn myned rhagddo, ac yn ein harwain bellach bellach at berffeithiad pechod, hŷd oni ddyccer dŷn i ddistryw.

Gwrandewch bellach ar y cynnorthwyon sy' gan Dduw, i achub ei eiddo, (am y rhain hefyd yr ydym yn gweddio,) rhag i ni fyned i mewn i brofedigaeth. Canys amryw gynnorthwyon sydd gan Dduw i waredu ei blant rhag dichellion eu gelynion.

1. Weithiau y mae efe yn llestair y gelyn hwnnw, y *temptiwr*, na ddelo efe yn agos attom: Canys nid oes iddo na nerth, na gallu yn y bŷd (yn erbyn y ffyddloniaid yn enwedig) ond trwy ganiattâad, ac nid ydyw Duw bob amser yn rhoi cennad iddo i ddangos ei falais;

a'i genfigen, gan weithredu ei amcanion. Ac o herwydd hynny y bû *Job* cyhyd yn esmwyth arno, yn ddifriw, ac yn ddiogel, a Satan heb allu cymmaint a chyffwrdd a'i gorph, na'i eiddo. Yn hyn y dywedodd y celwyddog ynte ddim ond y gwir uniawn; "Oni chaeaist o'i amgylch ef, ac o amgylch ei dŷ, ac ynghylch yr hyn ôll sydd eiddo oddi-amgylch? Ti a fendithiaist waith ei ddwylaw ef, a'i ddâ ef a gynnyddodd ar y ddaear," Medd Satan wrth Dduw, Jòb i. 10. Ac o'r un achos y dywaid y prophwyd. Salm xxxiv. 7. "Angel yr Arglwydd a gastella o amgylch y rhai a'i hofnant ef, ac a'i gwared hwynt."

2. Weithiau, er i Dduw roi cennad i'r *temptiwr* i ddyfôd yn agos attom, a'n cyffroi a'i brofedigaeth, a'n cyffwrdd a'i ddrygau, etto y mae efe yn ei attal, a'i fâch yn ei ffroenau, ai bawl wedi ei osod, a'i siccrhau, fel nad elo ddim uwchlaw hynny a ganniattawyd iddo. Fel y gwelir yn eglur yn hanes a chyflwr *Jôb*, ni chafodd Satan y tro cyntaf ond awdurdod ar ei ddâ, ei blant, a'i gyfoeth; a'r ail gais ar ei gorph, i'w flino a chornwydydd; ond tan ammod na chyrhaeddai efe hŷd at ei hoedl, "Wele ef yn dŷ law di, etto cadw ei hoedl ef," medd Duw. Job ii. 6.

3. Ymbell waith y bŷdd Duw yn rhoddi math a'r gynnorthwy yn y rhith, a'r gosgedd,

yn yr hyn y bŷdd Satan yn ymrithio er ein *temptio*. Y ddelw ddybryd, wrthun, y mae yn fynych yn ymddangos ynddi, a ddylai wneuthur i ni ffieiddio ei ymddiddanion a'i wyniau. A mawr na buasai *Efa* yn dychrynu wrth glywed y sarph yn llefaru wrthi hi, ac yn lledtybiaid rhyw ddichell yn y bwystfil, ac nid a'i lais ei hûn, nag o'i ben ei hun yr oedd efe yn llefaru. Pe's buasai yn ystyried hyn yn ei chalon, (megis ag y gallasai hi yn hawdd) fe fuasai hynny yn gynnorthwy iddi i droi heibio y *temptasiwn*.

4. Mynych y bydd Duw yn ein gwared rhag drwg profedigaeth, trwy beri i ni edrych yn ddyfal ar y profedigaeth ei hûn. 1. Naill a'i pan fydd efe yn ymddangos yn ofnadwy (Megis ag yn ddiammau y dylai pob cyffrô i bechu, ddychrynnu ein heneidiau, a pheri braw iddŷnt) Canys ceidwad gwiliadwrus yw *ofn*, yn cadw gwiliadwriaeth tros yr enaid, ac yn ei ymgeleddu. 2. Neu wrth edrych ar y *temptasiwn* megis ymherriad y gelyn, yn galw arnom, neu yn ein * *sialensio* i'r ymdrech: hyn a wna i'r Yspryd ymgryfhau ynom, ac a rydd galondid, a gwrolder i wrthwynebu.

5. Yn fynychaf, y mae Duw yn ein cynnorthwyo mewn profedigaeth, wrth amlhau ei râdau ynom, a'n cryfhau felly yn erbyn ein gelynion; Naill ai trwy roddi grâs o newydd i

* Gwyſio neu annog.

ymosod yn erbyn y *temptasiwn* hwnnw yn neillduol, a'i trwy gadarnhau, a chwanegu at y rhai oedd ynom o'r blaen: Fel na bo i'r profedigaeth weithredu dim angen ynom, ond cadarnhau ein ffydd, a'n gwneuthur yn fwy hyderus, ac i barhau yn ddiysgog hŷd y diwedd.

Fel hyn y bydd Duw yn gadael i'r gelyn amlhau ei brofedigaethau, a'i ymgodiad yn ein herbyn, fel y caffo yntau achlysur i amlhau ei râdau, ac adnewyddu ei ddoniau Ysprydol ynom, i ymosod yn eu herbyn.

Er mwyn hyn y rhoddwyd i'r Apostol Paul y " swmbwl *hwnnw* yn y cnawd, Cennad Satan i'm cernodio, (medd efe) fel na'm tra-derchafid." 2 Cor. xii. 7. A'i gernodio a wnaeth iddo weddio yn daer. *Am y peth hyn mi a attolygais i'r Arglwydd.* Ac ar weddio, efe a gafodd atteb a chyssur, " Ac efe a ddywedodd wrthyf, Digon i ti fy ngrâs i: Canys fy nerth i a berffeithir mewn gwendid. Yn llawen iawn gan hynny yr ymffrostiaf fi yn hyttrach yn fy ngwendid, fel y preswylio nerth Crist ynofi. Am hynny yr wyf fodlawn mewn gwendid, mewn anghenion, mewn erlidiau, mewn cyfyngderau er mwyn Crist: (Profedigaethau ydynt y rhai hyn y gyd) Canys pan wyf wan, yna yr wyf gadarn." adn. 9, 10.

Ac mewn mann arall: " yn y pethau hyn oll yr ydym ni yn fwy na *chwncwerwyr*, trwy'r hwn a'n carodd ni." Rhuf. viii. 37.

Ac o ran hyn (sef y mŵdd hwn a'r gynnorthwyo,) y dywaid yr un Apostol. 1 Cor. x. 13. "ffyddlon yw Duw, yr hwn ni âd eich *temptio* uwch law yr hyn a alloch; eithr a wna ynghŷd a'r *temptasiwn* ddiangfa hefyd, fel y galloch ei ddwyn." Weithiau y mae efe yn rhoi cysgod ynghanol y gwrês, fel y gwnaeth efe i *Jonah*, a'r cicaion, y palm Crist hwnnw, yn tyfu uwch ei ben "i'w waredu o'i ofid." Jona iv. 6. Weithiau ar ol hîr ymdrech, heddwch, neu amser i orphwys. Am yr hyn beth y gweddiai *Dafydd*, pan ddywedai, "Paid â mi, fel y cryfhawŷf cyn fy myned." Salm xxxix. 13.

Efe a gyssura, ac a gadarnhâ y galon ddrylliedig a gobaith, addewid o râs, a buddugoliaeth, megis yng nghyfyngder Paul, y dywedodd ac a gwbl-haodd. Digon iti fy ngrâs i. Efe a wna i ni orfoleddu, a llawenychu mewn cystuddiau, gan wybod eu bod yn cyd-weithio er ein llês. Efe a ddenfyn gystudd a blinder oddiallan, i ddysgu i ni oddef, "megis milwr da i Iesu Grist:" 2 Tim. ii. 3. Efe a ddwg ar gôf i ni y pedwar peth diweddaf hynny, Marwolaeth, a Barn, Uffern, a Dedwyddwch tragywyddol.

Aneirif foddion i'n hachub sydd gan Dduw, y rhai ni's gwyddom ddim oddiwrthynt, nes iddynt ein gwaredu, a'n hachub rhag aneirif ddrygau, heb wybod dim oddiwrthynt byth, neu eu bod ar ddyfôd arnom.

*Difficile admodum vincere tentationes, &c.* "Anhawdd iawn i ddŷn orchfygu profedigaeth; O herwydd nad oes neb yn gwbl oll yn ymdrechu yn erbyn un *temptasiwn*: Y ddwy blaid ymmhob un o honom, y Cnawd, a'r Yspryd, ac ymdrech iddo ynddo ei hûn, o ran, yn erbyn, o ran, gyda'r brofedigaeth.

Y gŵr ffyddlawn ei hûn yntau mewn profedigaeth, tebyg ydyw i deyrnas gwedi ymrannu yn ei herbyn ei hûn, nid allai efe sefyll, oni bai fôd Duw a'i râs, a'i gynnorthwy yn ei gynnal: Tebyg i ŵr yn marchogaeth ar geffyl rhusiog, gwingog, ar bob tro mewn perygl o'i gwympo yn ddisymmwth, ddiarwybod. Tebyg i Dŷ teg wedi ei adeiliadu yn gelfyddol, ond ar sail wan dywodlyd; yr hwn nid allai fyth oddef nerth y gwyntoedd, a'r llif-ddyfroedd, oni bai fod Duw yn gysgod, ac yn rag-fûr cadarn iddo: Tebyg i filwr da, mawr-frydig, yn sefyll i ymladd ar le llithrig, &c. Llawer o ddichellion sy gan ddiafol yn ein *temptio*; Am hynny nid afraid i ni lawer math o gynnorthwyon.

1. Hir barhad yn y brofedigaeth, yn blino'r wan galon drwy hir ymdrech; a thrwy hyn y mae efe yn peri i lawer un, nid yn unig adael y maes iddo ef, ond i'w orchfygu hefyd ag anobaith; fel pe bai gwedi ei lwyr adael gan Dduw, heb ddisgwyl am gynnorthwy. Saeth erchyll ydyw hon, gweddiwn rhagddi.

2. *Extranietas tentationis.* "Pan fo dŷn yn edrych ar y *temptasiwn* megis peth anghynnefinol," neu fel y dywaid St. Peter, am y profiad tanllyd, "fel pe bai beth dieithr yn digwydd iddo." 1 Pedr iv. 12. O hyn y daw i ddŷn dybied nad yw yn perthyn i etholedigaeth grâs, am nad yw yn gweled eraill yn cael eu profi yr un môdd. Saeth danllyd, erchyll, yw hon hefyd, gweddiwn ar Dduw rhagddi, a meddyliwn eiriau'r Apostol, "Nid ymaflodd ynoch *demptasiwn*, onid un dynol." 1 Cor. x. 13. Nid yw yn digwydd i chwi mwy nag i rai eraill. Gweddiwn yn gyttun rhagddynt oll. *Nac arwain ni i Brofedigaeth.*

3. O wir genfigen i'r rhai a fo efe yn gweled yn esmwyth arnynt, mae efe yn eu hannog i anfodlonrwydd, ac i newid eu cyflwr, a'u *'stâd* presennol yn ddâ ac yn ddïogel. Fel y gwelwch chwi bysgod, ac adar yn cael eu codi o'u llochesau, a'u llech-fannau, lle y gallasent fod yn ddiofn er maint y trwst a'r cynnwrf y mae'r heliwr yn ei wneuthur, a'i gyrru felly i'r rhwydau. Yn erbyn hyn gweddiwn am wastadrwydd, a bodlonrwydd.

4. Llawer un y mae efe yn ei annog i ymgais at bethau uchel, uwch-law eu gallu. Cofiwn yn erbyn hyn gyngor yr *Apostol.* Rhuf. xii. 3. "Yr wyf yn dywedyd trwy y grâs a roddwyd i mi wrth bob un sydd yn eich plith, na byddo

i neb uchel-synied, yn amgen nag y dylid synied, eithr synied i sobrwydd, fel y rhannodd Duw i bob un fesur ffydd.

5. Fel y mae Satan ei hun yn ymrithio yn *Angel goleuni*, felly y bydd efe yn gosod o'n blaen ninnau y drwg yn rhith y dâ, perygl yng nghosgedd diogelwch. Yn erbyn hyn hefyd gweddiwn, ar i Dduw roddi i ni iawn farn ymmhob peth.

6. A phan fo efe yn gweled dim arall yn tyccio, y mae efe yn maglu llawer un trwy heddwch, a pheidio a'u *temptio* hwynt tros amser, wrth hynny yn gweithredu ynddŷnt yn eu gwynfyd a'u llonyddwch, Esgeulusdra, diofalwch, balchder, dirmyg ar eraill, caledrwydd calon, a'r cyffelyb.

*Temptasiwn* a wrth-wynebir mewn tri môdd.

1. Y neb ni fo yn cydsynnio sydd yn gwrthwynebu; gorchfygir y *temptiwr*, pan na fo yn gorchfygu: Heb fod ar y goreu, bydd wrth hynny ar y gwaethaf.

2. Y neb a ffo oddiwrth *demptasiwn* sydd yn ei wrth-wynebu.

3. Gwrth-wynebu y mae y neb a darawo y dyrnod yn ei ol; Nid amgen, pan fo'r *temptiwr* yn peri i mi wneuthur hyn a hyn am ei fod wrth fy môdd, a minnau yn ei atteb. Am hynny na ddylwn mo'i wneuthur, am fod fy ewyllys a'm calon lygredig yn ei hoffi. Ni ddylem ni foddhâu ein hunain, onid Duw.

Wrth ddywedyd hyn, *nac arwain*, yr ydym yn gweddio am yr holl gynnorthwyon, a'r holl râdau hyn, i'n hamddiffyn a'n hymgeleddu, rhag i'r gelyn un amser gael y llaw uchaf arnom. Canniattâed yr Arglwydd ein Tâd nefol i ni hyn, er mwyn ei Fab, Iesu Grist, &c.

## PREGETH XIX.

Luc xi. 4. *Eithr gwared ni rhag drwg.*

Y Diweddaf peth a ddymunem gan Dduw yn y weddi: Nid gwaeth pa un a wnelom, a'i gymmeryd yn ddeisyfiad neillduol a'r ei ben ei hun, ai yn ddarn neu ran o'r hwn a fu o'r blaen, megis ag o ran y clywsoch o'r blaen.

Ynddo y mae i ni ystyried,

I. Y Drwg.

II. A'r ymwared oddiwrtho.

Y drwg sydd ynom o bechod pan orphenner, gweddiasom rhagddo yn y pummed ddeisyfiad, *Maddeu i ni ein pechodau, &c.* Y drwg feddyliau a ddeuant i'n calonnau oddi-allan, neu oddi-fewn, oddiwrth y cnawd, neu'r byd, neu'r cythraul, cynnyrfiadau, neu annogiadau i bechu, pob math a'r *demptasiwn*, gweddiwn yn eu herbyn yn y geiriau nesaf o'r blaen: *Ac nac arwain ni, &c.* Y *drwg* yma, rhyw

beth amgen yw, yr hwn ni chymmerir gan bawb chwaith i arwyddocau yr un peth.

*Chrysostom* a fynnai i ni ddeall, y drwg hwnnw, Awdwr a Thâd pob *temptasiwn*, a drwg brofedigaeth, sef, y Cythraul. *Kat' exochên 'ekeinos kaleita dia' tên huperbolên tês kakias, kai epeidàn mêdèn par' hêmôn adikê-theìs aspondon prôs hêmâs echei tôn polemòn.* Hom. 19. in Matth. "Felly y gelwir efe, o ran gormod dryganiaeth ynddo: A nyni heb wneuthur na cham, nac anghymmwynas yn y byd iddo, ac yntau o'r dechreuad yn dal gelyniaeth digymmod yn ein herbyn." Yr henw hwn y mae St. Ioan yn ei roddi iddo. 1 Ioan ii. 13. "Yscrifennu yr wyf attoch chwi, wŷr ieuaingc, am orchfygu o honoch yr un Drwg." A'n Iachawdwr ei hûn yn yr un modd. Matth. xiii. 19. "Pan glywo neb air y Deyrnas, ac heb ei ddeall, y mae y Drwg yn dyfod, ac yn cipio'r hyn a hauwyd yn ei galon ef."

Rheswm i ni weddio yn erbyn y Drwg, y gelyn hwnnw, ac erchi i Dduw, gael o honom ein gwaredu oddiwrtho; megis ag yr ydys o ran, yn y rhan gyntaf o'r deisyfiad.

*Cyprian* a fynnai yn hytrach amgyffred yn y gair hwn "bob math a'r ddrygau, *Cuncta adversa*," Aflwydd, blinder, cystudd, clefyd, *trwbl*, yr hyn y mae y gelyn yn ceisio beunydd eu dwyn arnom, tan yr hyn nid yw *bossi-*

bl i ni na ddiffygiem, oni bai i Dduw ei hun a'i nerth ein cynnal, ac o'i fawr drugaredd ein gwaredu.

A rheswm i ni weddio yn erbyn yr aneirif ddrygau hyn hefyd, bob amser yn ein hamgylchu: *Nunc ad peccatum sollicitantia, nunc boni impeditiva; Semper naturæ Institutioni, & ei quam expectat reparationi adversa.* "Weithiau yn ein cynhyrfu, ac yn ein hudo i bechod, i wneuthur y Drwg ni fynnem, ac yn siccr ni ddylem: Weithiau yn lluddias y dâ a fyddem yn eu fwriadu; bob amser yn erbyn ein hanianol berffeithrwydd, a'r adnewyddiad gogoneddus yr ydys yn ei ddisgwyl."

Ac o hyn yma, sef o weddio rhag yr holl ddrygau hynny, y mae i ni yn yr ysgrythur lân, orchymmyn, a siampl.

Onid hyn y mae Duw yn ei orchymmyn? Salm lx. 15. "Galw arnaf yn nŷdd trallodd; mi a'th waredaf." Galw am ba beth? Am ymwared o'th drallod. Ac o hyn y mae i ni siampl yn yr Israeliaid. "Llefasant ar yr Arglwydd yn eu cyfyngder ac efe a'u gwaredodd o'u gorthrymderau." Salm cvii. 6. A'r prophwyd ei hun, "yn fy nghyfyngder y gelwais ar yr Arglwydd ac y gwaeddais ar fy Nuw, &c." Salm xviii. 6. A'n Iachawdwr hefyd a weddi-

odd yn daer rhag y *Cwppan hwnnw* o'i ddioddefaint ar y groes.

Rhai eraill a ddeallent y *Drwg* hwn yn helaethach, gan amgyffred ynddo ein holl elynion ysprydol. Canys yn gyntaf, nid yw'r henw hwn yn briodol i'r cythraul yn unig. Ond Drwg a elwir pechod yntau. *Apostugowntes tò ponêrôn, Casewch y Drwg.* Rhuf. xii. 9.

A'r byd a elwir yn Ddrwg. "Yr hwn a'i rhoddes ei hûn tros ein pechodau, fel i'n gwaredai ni oddiwrth y byd drwg presennol." Gal. i. 4 "Y mae'r holl fyd yn gorwedd, medd St. Ioan j. Ep. v. 19. *En tô pônêrô, yn y Drwg,* neu mewn drygioni," eithr fe allai hwnnw fod naill ai pechod, ai 'r cythraul, yr hwn y mae efe yn son am dano yn yr adnod o'r blaen. *Ho ponêròs owch hiaptetas autow. A'r Drwg hwnnw nid yw yn cyffwrdd ag ef.*

A Drwg y gelwir y cnawd yntau, sef, Llygredigaeth naturiol, *trysor Drwg y galon.* Matth. xii. 35. Trachwant.

2. Yn ail, y fantes y mae diafol (y Drwg hwnnw) yn ei gael yn erbyn dynion, sy'n dyfôd iddo trwy waith y cnawd, a'r byd, a phechod: Ac am hyn, gyda'r Drwg hwnnw yn y weddi, rheswm i ni amgyffred, a deall, a synnied ei weision, yn offerynau, a pheiriannau.

*Fieri potest*, &c. *L. B.* "Tebyg iawn; ie, "pa'm na thebygem, mai meddwl ein Iach-

"awdwr ydoedd, dysgu i ni yn y gàir hwn "weddio rhag yr holl ddrygau hyn, a cheisio "ymwared cyfamserol oddiwrth bob rhai, a "phob un o honynt." *Neque enim frustra dubio aliquo sermone usus est*; "Canys ni ddaeth "erioed o'i enau bendigedig ef air petrûs, yn "ddiachos, neu yn ofer."

Am hynny wrth ddywedyd hyn, "gweddiwn,

1. *Imprimis liberari petimus à peccato;* Am ymwared oddiwrth bechod," y gwaethaf dim o'r holl bethau yn ein drygu: ar i Dduw ein rhagflaenu, ein cynnal, amddiffyn, a'n cynnorthwyo a'i râs hyspysol, rhag i ni syrthio mewn un pechod, neu gydsynnied a'r brofedigaeth.

2. Am nodded ac amddiffynfa oddiwrth y Cythraul: Nid yn unig rhag iddo ein gorchfygu, a'n caethiwo, eithr hefyd gael cennad i'n dygn-flino, a'n gormesu. Ei gymmydogaeth yn y byd hwn, ni's gellir mo'r cilio oddiwrthi, ac efe yn dywysog yn y byd ac yn tra arglwyddiaethu yn ei eiddo: Ac yn ddiau ped ymddangosai efe yn ei rîth ei hûn, ni ddylai hynny, a Duw ei hûn o'n plaid, fod mor ofnadwy. O herwydd hynny, nid ydym yn gweddio ar i Dduw ei dynnu ef allan o'r byd, ond yn unig ar iddo roddi i ni ras i ochelyd y dichellion a'r maglau, y mae y Drwg hwnnw yn eu gosod i bawb oll, ond yn enwedig i'r etholedigion, plant y deyrnas.

3. Gweddiwn rhag ein trachwant ein hunain, yn ein hudo, ac yn ein llithio, ac hynny, nid yn unig nad elom ar ei ol; eithr hefyd ei farwhau, a'i dynny ef yn llwyr oddiwrthym. Er na's gallwn ddisgwyl fod mor gwblberffaith a hynny, nes i Dduw ein cymmeryd atto ei hûn, i fod yn y nef yn oestadol gyda'r Arglwydd.

4. Gweddiwn am ymwared oddiwrth drallod, adfyd, aflwydd, ing, cyfyngder, a'r holl ddrygau a allent ddigwydd i bob un o honom oddi-fewn, ac oddi-allan, yn gystal i'r corph a'r enaid; pob peth yn ein blino oddi-allan, yn ein llithio i wneuthur drwg, yn ein lluddias ac yn ein rhwystro ymmhob gorchwyl daionus.

Ond yn ddiau nid ydym yn cael mo hyn, er i ni geisio fod yn ddiogel, heb ddioddef dim o'r drygau hyn, tra fom yn y Babell hon. (Canys ni a wyddom mai gwîr y mae'r Apostol yn ei ddywedyd. 2 Tim. iii. 12. "Ie, a phawb ar sy'n ewyllysio byw yn Dduwiol yng Nghrist Iesu a erlidir.") Eithr yr ydym yn gweddio ar ein Tâd nefawl, ar iddo ein gwaredu o'r lleiaf dim o ran yn y byd hwn, tra fom yn y cnawd, hynny yw, cyn belled ag y gwel efe yn dda er ein llês; ond gwedi hyn, yn hollawl oddiwrth bob drwg, yn enwedig oddiwrth y Drwg diweddaf hwnnw tân uffern, a phoenau tragywyddol. Ceisiwn ddiangc rhag *y pryf*

*nid yw yn marw, ar tân nid yw yn diffódd,* ac er i ni farw yn y bŷd, diogel fyddwn.

5. Yn ddiweddaf, yn gymmaint a bod bywyd dŷn, ie a'r holl fŷd yn debyg i ffenestri gwydyr, wedi eu tacclu mewn un man, yn cael eu torri mewn man arall: Gweddiwn i'n Tâd nefol, ar iddo ein cadw, nid yn unig trwy ein holl fywyd, ymmhob lle, a phob amser, rhag i greadur yn y byd ddrygu gormod arnom, ond yn enwedig ar iddo ein gwaredu yn y diwedd, a bod yn drugarog wrthym yn awr angeu. Marwolaeth dduwiol yw diwedd yr holl ddrygau hyn a oddefir yn y byd, a dechreuad dedwyddfyd tragywyddol.

Ond pan weddiom fel hyn, meddyliwn fod yn ddiolchgar i Dduw am ein holl ymwared â'n diogelwch hyd yn hyn, am nad adawodd efe i'r gelyn gael y llaw uchaf arnom, a'n gyrru i ddinistr, a'n dal yn ei fagl wrth ei ewyllys ei hûn; am nad adawodd efe i angeu disyfyd ein cipio yn ddisymmwth, ac yn ammharod: Am iddo beidio a'n rhoi i fynu i drachwantau ein calonnau, i wneuthur y pethau sy anfodlon ganddo.

Meddwliwn ymmhellach, fod yn wiliadwrus er ymgadw oddiwrth Ddrwg, rhag i ni ein bwrw ein hunain yn ddiystyr bendramwnwgl iddo, fel y rhai a "dynnant anwiredd a rheffynnau oferedd, a phechod megis a rhaffau

menn." Esa. v. 18. *Gwae i'r rhai hynny*, medd y Prophwyd.

A hyn oll, a ellir ei wneuthur yn well wrth ystyried trefn a graddau'r deisyfiadau yn y weddi. Pan fo'r galon gwedi cydsynnio a'i chwant, a phechod gwedi ei orphen; yna y dywedwn fel i'n dysgir, *Maddeu i ni ein pechodau. Adhibentes remedium in opere misericordiæ cum addimus, Sicut, &c.* "Gan addaw rhyw fath ar iawn am y drwg a wnaethom wrth ddywedyd," *Megis ac y maddeuwn ninnau*, &c.

Wedi gofyn a chael maddeuant am yr hyn a aeth heibio, ymosodwn yn erbyn y Drwg sydd o'n blaen, gweddiwn na chydsynniom o hyn allan a'n chwantau pechadurus, a'r i Dduw ein cynnorthwyo a'i ras, nad elom fyth rhagllaw i brofedigaeth.

Ac yn ddiweddaf oll, megis yn ymestyn at berffeithiad, a'r cyflwr bendigedig hwnnw, pan fydd y *llygredig hwn wedi gwisgo anllygredigaeth, a'r marwol hwn wedi gwisgo anfarwoldeb*; gweddiwn am ymwared oddiwrth bob rhyw Ddrwg, ac am dragywyddol ddiogelwch. Yno ni bydd na diafol i'n hudo, na thrachwant i'n llithio, na gwag ogoniant i beri i ni ymchwyddo; onid Duw ei hun a fydd oll yn oll.

Addas hefyd i ddal sulw ac ystyried, pa fodd y mae'r weddi sanctaidd hon yn dechreu a diwedd ein holl ddeisyfiadau, ac yn dieddu a'r cyntaf peth a ddylem ni ddymuno.

Canys rheittiaf dim tuag at berffeithiad yw, ymwared oddiwrth Ddrwg; a diben ein holl ddymuniadau, yw gogoniant y Goruchaf trwy *sancteiddio ei Enw.*

Ac i'n harwain, a'n dwyn hŷd at y perffeithrwydd hyn, y cam cyntaf yw; ceisio cael ein gwaredu rhag y drygau a gifdynnant ein meddyliau oddiwrth radau a gorchwylion ysprydol; Yr ail gais, yw, cael gras a chynnorthwy i ochelyd achlysur pechod, a phob math a'r brofedigaeth yn annog iddo. Y trydydd, bod yn gariadus ag yn gymmwynasgar, gan faddeu i'w gilydd, fel y gallwn fod yn addas i dderbyn maddeuant gan ein Tâd nefawl, a dywedyd wrtho yn hyderus, *Maddeu i ni ein pechodau,* &c. 4. Gwedi cael maddeuant, awn rhagom yn gyssurus, i ofyn bara gan ein Tâd grasusol, yr hwn ni rydd garreg i un o'i feibion. 5. A nyni yn cael ein porthi a'n cynnal fel hyn a phethau da anghenrheidiol i ni, yr ydym yn rhwymedig i wneuthur ei ewyllys ef, yr hwn sydd yn rhoi i ni beunydd borthiant a chynnaliaeth. 6. Y rhai a wnânt ei ewyllys ydynt eusoes gwedi eu derbyn i'w deyrnas, a rhan o'r etifeddiaeth; yn yr hon nid oes, ac ni bydd i ni na gwaith na gorchwyl, ond sancteiddio ei Enw, ei foliannu a'i ogoneddu yn dragywydd. Dyro i ni ras i ystyried hyn yn ddyfal, ag i weddio yn ddefosiounol, fel y

gallom fyw yn dduwiol, ac yn y diwedd fwynhau y bywyd tragywyddol trwy Iesu Grist, &c.

---

## PREGETH XX.

Matth. vi. 13. *Canys eiddot ti yw'r deyrnas, &c.*

ER i St. Luc adael y geiriau hyn heibio yn ddigrybwyll, ni ddylem ni mo'u hesgeuluso, na myned trostynt yn ddiystyr. Canys diammau gennym eu bod yn perthyn i'r weddi, ac yn rhan o ddysgeidiaeth ein Iachawdwr yn ei bregeth enwog ar y mynydd; i'r hon yr oedd *St. Matthew* yn wrandawr cofus. A'r hyn a glywodd, ac a ddysgodd gan yr Arglwydd, efe a 'sgrifennodd er dysgeidiaeth i ninnau.

Ac nid gwaith ofer y'w eu hymarfer, (fel y mae rhai yn tybied) o'r hyn y mae i ni siampl yn *St. Paul;* Canys y mae yntau yn bwrw y byrr ymadrodd gorphen hyn o'r weddi ynghyd a'r deisyfiad diweddaf. " Mi a waredwyd *(medd efe)* o enau y llew; a'r Arglwydd a'm gwared i rhag pob gweithred ddrwg ac a'm ceidw i'w deyrnas nefol: I'r hwn y byddo gogoniant yn oes oesoedd. Amen." 2 Tim. iv. 18. &c.

Fel hyn ar ol tywallt ein calonnau a'n deisyfiadau o flaen Duw, y mae ein Iachawdwr yn

ein dysgu i ddiweddu'r weddi, gan roddi clôd, a moliant i'n Tâd nefol. Wrth yr hyn y bydd y diwedd yn gysson a'r dechreuad.

Canys ni fynnai ein Iachawdwr i ni ddiangc yn ebrwydd ac yn *yngwrth ar ol ymbilio, heb na diolch, na †*defosiwn:* Eithr y mae efe yn gosod hwn o'n blaen megis yn sail neu brif-achos o'r hôll weddi. Canys oni bai i ni synnied fel hyn am Dduw, *mae ei eiddo ef yw'r deyrnas, y nerth, a'r goniant,* ni fyddai i ni na hyfder nag ewyllys i weddio, nag i un gorchwyl duwiol arall yn y byd.

*Pulchre hæc clausula orationem ipsam concludit;* Têg y mae y diwedd-glo hwn yn cau ar y deisyfiadau. O herwydd, 1. Y mae megis yn dwyn ar gôf i Dduw ei addewid, a'i ran yntau i gyfiawni y pethau yr ydym yn eu dymuno, gan fynegi'r achos sy'n peri i ni fod mor hŷf, a dyfod fel hyn i geisio dim ar ei law, a gobeithio y cawn ni dderbyn, *Canys eiddot ti yw'r, &c.* 2. Yn dwyn ar gôf i ninnau ein dyled-swydd, yn ein hannog ar ol i ni weddio, i edrych ar ein hôl, pa fod y gweddiasom, ai mor barchedig, ac mor ddefosionol ac y dylem, a nyni yn ymddiddan a'r Duw mawr, ofnadwy, yr hwn y piau'r *deyrnas, y nerth, a'r gogoniant yn oes oesoedd.* Ac os gwelwn ddarfod i ni ffaelio mewn un modd, i'r tafod redeg o

* Yn ddibarchedig. † Duwiolder.

flaen y meddwl, i'r genau lefaru megis yn ddiwybod i'r galon, ac heb ystyried beth a ddywedent, atgyweiriwn y gweddiau hynny, ymwrandawn yn well ar ein calonau ein hunain, a dygwn yn eu hôl y dyfal ystyriadau y mae ein Tâd nefawl yn eu disgwyl oddiwrthym yn ei wîr-wasanaeth, &c.

Wrth ddywedyd hyn, a chofio Teyrnas Dduw, deallwn,

1. *Ei holl-ddigonoldeb;* Duw sy'n ddigonol o hono ei hûn i wneuthur pob peth, heb arno eisiau dim, ac heb raid iddo wrth yr un o'r creaduriaid, nac offer, na pheiriant yn y bŷd, ond ei ewyllys ei hûn. "Myfi yw El Sadai." Gen. vii. 14.

2. *Ei hawl, a'i fraint yn yr holl greaduriaid,* yr un modd ag y mae i Frenin (ac yn gyfiawnach o lawer) yn yr holl berthynasau i'w lywodraeth. Ie, efe a'i gwnaeth hwynt oll, a'i eiddo ydynt.—"Y byd a'i gyflawnder sydd eiddo fi." Salm l. 12.

3. *Ei Awdurdod a'i lywodraeth ar bob peth,* yn trefnu, yn ordeinio, lluniaethu pob peth wrth ei ewyllys ei hûn.

Dywedasom o'r blaen fod i'r Drindod fendigedig dri math o deyrnasoedd. 1. Teyrnas ei Allu. 2. Ei Râs. 3. Ei Ogoniant.

1. Y gyntaf a elwir *Brenhiniaeth ei Ragluniaeth;* trwy ba un y mae Duw yn arglwydd-

iaethu ar bethau yn y nef, a'r ddaear, a than y ddaear. Am yr hon y dywaid y prophwyd. "Yr Arglwydd a barottôodd ei orseddfaingc yn y nefoedd, a'i frenhiniaeth ef sydd yn llywodraethu ar bob peth." Salm ciii. 19. "Dy frenhiniaeth di sydd frenhiniaeth dragywyddol, a'th lywodraeth a bery yn oes oesoedd." Salm. cxlv. 13. Yr hyn yr ydym ninnau yn y fan yma yn cyfaddef yn arbennig.

2. Teyrnas gras Duw, a'i ogoniant nid y'nt yn ddiau deyrnasoedd neillduol, gwedi eu hymrannu yn erbyn eu gilydd, ond dwy ran yn hyttrach o'r un frenhiniaeth, yn ddechreuedig yn y gyntaf, yn gwbl-berffaith yn y llall, un yn y byd yma, a'r llall yn y byd sydd ar ddyfod. *Eiddot ti.* Cyfaddef-yr y'm mai Duw piau'r deyrnas.

1. Oblegid awdwr a ffynnon pob llywodraeth ac awdurdod, yw efe. "Nid oes awdurdod, onid oddiwrth Dduw: Ar awdurdodau sydd, gan Dduw y maent wedi ei hordeinio." Rhuf. xiii. 1. Ond Duw sydd yn llywodraethu o hono ei hun.

2. O ran dangos y rhagor sy rhwng teyrnas Dduw a brenhiniaeth, Emerodraethau bydol. Brenhinoedd, a phennaethiaid y byd sydd a rhyw fath ar Allu, Mawrhydi, Gogoniant, Teyrnas: Eithr nid y nerth a'r gallu, y deyrnas a'r Mawrhydi, sydd hollawl ac o honynt

eu-hunain: Yr hyn sydd ganddynt, o Dduw y mae i gyd.

3. Nerth Duw ydyw, wrth ba un y mae efe yn gallu ac yn gwneuthur yr hyn y mae yn ei ewyllysio. Nid yw efe yn unig yn nerthol, ac yn gadarnaf, eithr yn wîr-nerth, yn wîr-gadernid ei hûn, o'i sylwedd ei hunan: Efe hefyd yw'r hwn sydd yn rhoddi nerth, a gallu i'r holl greaduriaid eraill. Am hynny y gelwir Crist. Es. ix. 6. "El gibbor." Y Duw cadarn. Nag ofned plant Duw gryfder eu gelynion, canys eiddo Duw yw'r nerth; Efe sydd gryfach na hwynt oll.

Nerth ac ewyllys Duw, yr un peth ydynt: Nid oes na rhagor na gwahaniaeth rhyngddynt. Y peth a fynn Duw a fydd; efe a'i gwna. Pwy, neu pa beth a wrthwynebai ei ewyllys ef? Nid felly y cadarnaf o ddynion, yr hwn a fydd a'i ewyllys ar lawer peth, heb allu byth mo'i ddwyn i ben. Ond yr hyn y mae Duw yn ei ewyllysio, y mae efe hefyd yn ei wneuthur; A'r hyn ni ddichon mo'i wneuthur, ni ddichon mo'i ewyllysio 'chwaith.

Ond chwi a ddywedwch ysgatfydd; a oes dim na ddichon Duw wneuthur? *Myfi a attebaf*, y mae'r ysgrythur lân yn crybwyll am rai pethau, ni ddichon Duw mo'i gwneuthur, nid o ran gwendid neu ddiffyg yn y byd, ond o ran rhagoriaeth nerth, a gallu, a pherffeith-

iad: *Ammhossibl* i Dduw fod yn gelwyddog, ei wadu ei hun, *ammhossibl* iddo farw, &c. O wendid y mae'r pethau hyn i gyd yn deilliaw, ac yn dyfod, ac am hynny ni ddichon yr un o'r pethau hyn gyd-sefyll a godidawgrwydd, nerth, a gallu'r Hollalluog Dduw.

Gogoniant o briodolder nid yw ddim amgen, na'r disgleirdeb a welir mewn dim. *Glorificari idem est quod clarificari.* Aug. Gogoneddu, yw gwneuthur yn gyhoedd y disgleirdeb a'r rhagoriath sydd yn neb rhyw beth.

Defnydd gogoniant ydyw rhyw berffeithrwydd, neu ragoriaeth, yr hyn ni ddichon na bod yn gymeradwy, ac yn ganmoledig gan bawb, wrth hyn y mae peth yn ogoneddus ynddo ei hun; ond trwy eglurhau y perfeithiad hynny i eraill, ei ganmol ai gyfaddef, y gwneir efe yn ogoneddus i eraill hefyd; ac o herwydd hyn. Gogoniant Duw ydyw bod ei hanfod ai briodoliaethau bendigedig yn disgleirio, yn hyspys ac yn gydnabyddus yng ngweithredoedd y creaduriaid.

Yn Nuw yn unig y mae defnydd a sail yr holl ogoniant, sef, gwir-berffeithrwydd, rhagoriaeth, godidawgrwydd; ac iddo y mae yn dychwelyd yn ei ddull, ai osgedd wrth ei eglurhâd, wedi gwneuthur yn hyspys nad oes na gogoniant, na pherffeithrwydd, ond yn Nuw, ac o Dduw yn unig. O herwydd paham y

dylai pob dyn gyfaddef gyda'r prophwyd. "I ti Arglwydd y perthyn cyfiawnder a nerth, a gogoniant, ond i ni gywilydd wynebau megis heddyw. Arglwydd, y mae cywilydd wynebau i ni, i'n brenhinoedd, i'n tywysogion, ac i'n Tadau, o herwydd i ni bechu i'th erbyn." Dan. ix. 7, 9.

Mor hyspys yw hyn i bawb nid rhaid mo'i draethu ddim ymmhellach; oddieithr dwyn ar gôf i chwi yr amryw ddysgeidiaeth sydd i ni i gael oddiwrtho.

1. O hyn yma y mae i ni sylfaen ddisigl, ddianwadal, o hyder, a gwir obaith, yn Nuw. *Fiducia exauditionis.* "Siccrwydd o gael ein gwrando pan weddiom," a dim blinder arnom; canys y mae i ni Dâd yn y nefoedd, ac iddo ef yr y'm yn attolwg, yr hwn y piau'r *Deyrnas, a'r nerth, ar gogoniant.* Wrth ystyried ei allu, diammau gennym y dichon efe ein hachub; wrth ystyried ei Deyrnas, meddyliwn mai ei ddeiliaid ydym, ac am hynny ni ddichon na bo yn ewyllysgar, ac yn barod i amddiffyn, a chynnorthwyo ei eiddo. Ei ogoniant sydd beunydd yn cael ei egluro, ac yn ymddangos yn ei drugareddau tuag at ei bobl. "Galw arnaf fi yn nydd trallod, mi a'th waredaf, a thi a'm gogoneddi." Salm l. 15.

2. Dysgwn wrth hyn, y dylai canu mawl, a rhoddi diolch i Dduw am ei holl ddaioni, gyd-

gerdded neu fyned ynghyd a'n gweddiau, megis rhan o'n gwasanaeth iddo: Megis ac y mae'r Apostol yn eu cwplysu, Phil. iv. 6. "Na ofelwch am ddim: Eithr ym mhob peth mewn gweddi, ag ymbil gyda diolchgarwch gwneler eich deisyfiadau chwi yn hyspys ger bron Duw."

Fe'n dysgir yn y deisyfiadau o'r blaen i ymbil ac i weddio am bob peth anghenrheidiol, yn gystal ar les y corph, a'r enaid: yma wrth ddiweddu, i dalu diolch; a pha fodd y gwnawn, gan ddywedyd, *canys eiddot ti yw'r deyrnas, y nerth, &c.*

3. Dysgwn wrth hyn, pan fôm gwedi derbyn y bendithion yr y'm yn gweddio am danynt, i ba ddiben y cyfeiriwn hwynt. Ceisio yr ydym gan weddio, fara beunyddiol, maddeuant o'n pechodau, ymwared oddiwrth bob drwg a *themptasiwn*: Gwedi i ni gael y pethau hyn: Pa fodd yr arferwn hwynt? Nid i drachwant y cnawd, ond er ymattal; wrth ein hymarweddiad yn y nef, y ddinas-fraint a bwrcasodd Crist i ni, yn nheyrnas ei Dâd, yn gystal ei ras, a'i ogoniant yn oes oesoedd. Meddyliwn, pa bethau bynnag a gaffom, eu harfer er gogoniant ein Tâd nefol, sy'n eu rhoddi i ni: A thalwn iddo ddiolch, a moliant a gogoniant am danynt. Meddyliwn hefyd am y pethau nid y'm yn eu cael, er i ni eu

gofyn, mai er ein lles y mae efe yn attal ei law, ac yn peidio a'i rhoddi i ni, ac er gogoniant iddo ei hun. Beth bynnag gan hynny a wnawn a'i derbyn y rhôdd a geisiem, a'i bod hebddi, rhaid i ni fawrhau enw gogoneddus ein Tad nefol, a dibennu ein gweddiau oll fal hyn, *Ty di piau'r Deyrnas, a'r nerth, &c.*

Dyma'r modd i ni gael ein gwrando, pan weddiom, sef, drwy gydnabod ein hannheilyngdod, gan gymmeryd gwarth a chywilydd i ni ein hunain, a rhoddi mawl a gogoniant i Dduw yn unig, *Ty di piau'r deyrnas, &c.*

---

## PREGETH XXI.

Matth. vi. 13. *Amen.*

UN o eiriau'r Arglwydd yw hwn hefyd, nid yn ofer yn dibennu y fendigedig weddi hon, na mwy na rhaid 'chwaith mewn un weddi arall. "Nef a daear a ânt heibio, eithr fy ngeiriau i nid ânt heibio ddim. Matth. xxiv. 35. "Nid a un jot, nac un tippyn o'r gyfraith heibio." Matth. v. 18. Nac o'r efengyl 'chwaith. Na atto Duw i ninnau adael y tippyn yma, yr *Amen* heibio, a myned trosto yn ddiystyr, fel pe na bai berthynasol i'n gweddiau.

Dau beth sydd i ni i ymgais ynddo.

1. *Ei, gyfieithiad,* neu pa beth y mae yn ar-ddangos i ni,
2. *Ei uws* y lles, ar mwyniant, sydd o honaw.

*Amen,* o dadogaeth, gair *Hebraeg* ydyw, mo'r briodol i'r iaith honno, ac mor gynhwysol ynddo ei hun, fel pe na's gallai mo'i gyfieithu, yr ydys yn ei arfer ym mhob iaith arall. Ei wreiddyn ydyw *Aman,* yn arwyddoccau weithiau, credu, coelio, ymddiried.

*Confirmandi particula, quæ pro loco aut veré exponitur, aut fiat.* Nôd cadarnhaâd, yr hwn yn ol y lle y bo ynddo, a gyfieithir, naill a'i *yn wir,* ai *felly bô.*

*Amen* a geir weithiau yn nechreu'r ymadrodd, ond yn fynychaf yn y diwedd, ac megis yn cau yn y diwedd arno.

*Cum præponitur confirmat dicenda: cum postponitur confirmat præcedentia. Paræ:* ar Matth. "yn y dechreu yn siccrhau y peth a ddelo ar "ei ol; yn y diwedd yn cadarnhau," ac yn dwyn tystiolaeth i'r hyn a aethai o'r blaen. Weithiau y ceir *Amen,* yn honni, neu yn taeru yn unig ar hyn a ddywedir. Megis ag y mae ein Iachawdwr yn ei arfer Matth. v. 18. *Amên légô.* "Yn wir meddaf i chwi," A'r Apostol. 2 Cor. i. 20. "Addewidion Duw ynddo ef ydynt ïe, ac ynddo ef *Amen,* er

gogoniant i Dduw trwom ni." (Hynny yw) Geirwir, ffyddlawn, siccr, diogel, anghyfnewidiol. "Ni bu ei ymadrodd ef wrthych Ie, a Nage," adn. 18. fel pe buasai Duw yn addaw y pethau ni chwpplhae ddim, geiriau heb na phwys, na gwirionedd ynddynt. Nid felly "Ond ei ymadrodd ie, ydoedd," adn. 19. Oblegid holl Addewidion Duw yng Ngrist *ie* ydynt, &c.

Wrth gyd-osod yr Efangylwyr ar gyfer ei gilydd, y bydd hawdd cael gwybod beth yw meddwl, neu arwyddocäad y gair, wrth hyspysu pa beth a ddywedai ein Iachawdwr am y weddw dlawd yn bwrw ei dwy hatling i'r drysorfa. Gwedi galw ei ddisgyblion. *Amên lĕgô humîn*, medd St. Marc xii. 43. *Alêthôs lĕgô humîn*, medd St. Luc xxi. 3. "Fwrw o'r wraig weddw dlawd hon fwy na hwynt oll." Yr un peth ydyw, ac yr un modd y cyfieithwyd yn y ddau fan, *yn wir meddaf i chwi*, Amen, hynny yw. *Yn wir*.

2. Weithiau y mae yn arddangos cydsyniad i'r peth a wneir, neu a fynegir. Megis a *Dafydd* yn erchi Eneinio *Salomon* ei fâb yn Frenin ar ei ol. "Benaiah mab Jehoiada a attebodd y Brenin ac a ddywedodd, *Amen*. Yr un modd y dywedo Arglwydd Dduw fy Arglwydd Frenin. 1 Brenh. i. 36.

Ac wrth dderbyn yr Addewidion nid yw yr *Amen* hwn yn ysbysu y cydsynniad yma yn unig, eithr gyda hynny, Llawn siccrwydd gobaith, Heb. vi. 11. " a Llawn hyder ffydd." Heb. x. 22. " Felly a Duw yn dwyn ar gôf i *Jeremi* ei Addewid i'w bobl, Jer. xi. 45. " Gwnewch yn ol yr hyn oll a orchymmynnais i chwi. Felly chwi a fyddwch yn bobl i mi, a minnau a fyddaf yn Dduw i chwithau: Fel y gallwyf gwplau y llw a dyngais wrth eich Tadau, ar roddi iddynt Dir yn llifeirio o laeth a mêl, megis y mae heddyw: Yna yr attebais, (medd y prophwyd,) ac y dywedais, O Arglwydd, *Amen*, Felly y byddo."

3. Weithiau, a hynny yn fynychaf, y bydd yr *Amen* yma yn cynnwys serch a deisyfiad y galon, megis ag yr arferir ef yn ein ymbiliau, bendithion, a thalu diolch.

" Ezra a fendithiodd yr Arglwydd, a'r holl bobl a attebasant, *Amen, Amen*, gan dderchafu eu dwylaw." Nehem. viii. 6. " Ar Angylion, a'r Henuriaid, a'r pedwar anifail, a syrthiasant ger bron yr orseddfaingc ar eu hwynebau, ac addolasant Dduw, gan ddywedyd, *Amen*, y fendith, a'r gogoniant, a'r doethineb, a'r diolch, a'r anrhydedd, a'r gallu a'r nerth a fyddo i'n Duw ni yn oes oesoedd, *Amen*." Dat. vii. 11. 12.

Yn y fan hon (megis ag yn niwedd ein holl weddiau) y dodir ef yn ei gyfle, nid, yn unig i ddangos, a gosod allan wir ewyllys ein calonnau, a'u serch ar y pethau yr ydym yn gweddio am danynt eithr heb law hynny, i ddwyn tystiolaeth i'n ffydd, a'n llawn hyder i dderbyn ar ol ein deisyfiadau.

Canys ein Iachawdwr yn ein hannog, a'n dysgu, a'n cyfarwyddo fel y dylem, a ddywaid. Marc xi. 24. "Beth bynnag oll a geisioch wrth weddio, credwch y derbyniwch, ac fe fydd i chwi." Yn yr hyn y mae efe yn ysbysu dau beth priodol i bob gweddi ddefosionol.

1. *Gwir ewyllys*, a deisyf, am gael y grâs neu'r fendith yr ydys yn ei ofyn: Gwir hanfod gweddi. Canys heb feddwl a dymuno ar gael, nid yw hi weddi ddim.

2. *Ffŷdd*, a llawn hyder y derbyniwn, y rhydd Duw y pethau yr ydym yn ei deisyf, heb pa un nid ŷm ni addas i dderbyn dim gan ein Tâd nefol: A'r pethau a gaffom heb ffŷdd, nid er ein lles ond yn hytrach i farnedigaeth yr ydym yn eu derbyn.

Pa bethau a ddylem ni geisio tan weddio, a ysbysir i ni yn neillduol yn y deisyfiadau o'r blaen: Pa fodd y ceisem, y dengys y gair hwn, megis arwydd ffydd, heb pa un ni cheir, ac ni ddisgyn un rhôdd ddaionus oddiwrth Dâd

y goleuni. "O bydd ar neb eisiau gofynned gan Dduw, yr hwn sydd yn rhoi yn haelionus i bawb; eithr gofynned mewn ffydd heb ammau dim. Canys yr hwn sydd yn ammau, sydd gyffelyb i donn y môr, a chwelir ac a deflir gan y gwynt. Canys na fyddylied y dyn hwnnw y derbyn efe ddim gan yr Arglwydd. Iag. i. 5, 6, 7.

*Amen* yn niwedd y weddi nid yw briodol i'r bobl yn unig, i ddangos eu cydsynniad i eiriau y gweinidog a bod eu meddyliau yn cydgerdded: Eithr rhan o'r weddi hefyd ydyw, yn perthynu i'r gweinidog a'r bobl a weddiant mewn ffydd. Ac yn rhoddi yn ychwaneg at ein deisyfiadau gymmaint ag y mae hyder ein ffydd yn chwannegu ac yn gwellhau ein deisyfiadau. *Signaculum Orationis Dominicæ. Hier.* Ysêl ar weddi'r Arglwydd: Ia, sêl ein calonnau ninnau, ar hwn yr ŷm yn Selio pob un o'r deisyfiadau, ac yn eu siccrhau ynom ein hunain, ein bod ni yn eu gwirewyllysio, ac y cawn ni eu derbyn. Am hynny y dylid ei gyfaddasu a'i gyssylltu a phob un o'r deisyfiadau. Megis gwedi dywedyd, *Sancteiddier dy Enw*, rhoddaf atto yn ychwaneg, *Amen*, fel pe dywedwn, megis ag yr ydwyf yn attolwg ar Dduw roddi i mi, ac i eraill ras i *Sancteiddio ei Enw*, felly yr ydwyf yn credu ac yn ddiammau gennyf, y cât gyn-

R

northwy gan fy Nhâd, a'm Duw, i wneuthur hynny: A'r un ffunud yn y deisyfiadau eraill. Wrth hyn y deellwch pa beth y mae *Amen* yn Arwyddoccaû.

2. Am yr addysg a'r lles, a'r mwyniant fydd i ni o honaw. 1. *Commone factio est*, Coffaad, neu rybudd yw, yn dwyn ar gôf i ni, yn peri i ni atgofio, ar ol traethu ein deisyfiadau o flaen Duw, i holi ein calonnau, pa fodd y gweddiasom, a pha ffŷdd, a pha ostyngeiddrwydd, a *defosiwn*, a pha hyder ar Dduw, a pha ddirmyg arnom ein hunain, o ran ein cyfiwr trwy lygredigaeth.

Ar ol dangos ein anghenrheidiau, a thraethu ein deisyfiadau yn neillduol, pob un ar ei ben ei hun, gadewch i'r enaid yn y diwedd, gynnhwyso, a derchafu ei hunan, i ddanfon i fynu yn gryno un llawn erchiad yn llé'r cwbl, gan ddeisyf a phob gwresogrwydd calon, ar i Dduw yntau ddywedyd *Amen*, *Bid felly*, wrth bob un o'n deisyfiadau, ar peth a ddywedo Duw a fydd. Ei *Fiat*, ei *Amen* ef ydyw cwplau.

2. *Testimonium est*, tystiolaeth yw o hyder a diogelwch ein ffŷdd, trwy'r hon yn unig y mae iawn-weddio. Nid yw yn ammau dim. ond yn bwrw'r cwbl ar Dduw a'r wir addewid: Fal hyn y dylai pob un, megis Abraham, fod yn ddi-egwan o ffŷdd, " yn gwbl siccr gan-

ddo, am yr hyn a addawsai Duw, ei fod yn abl ac yn ewyllysgar i'w wneuthur hefyd. Rhuf. iv. 21.

Dywedwn ninnau *Amen* yn niwedd ein gweddiau, o herwydd i Dduw ddywedyd *Amen* yn nechreu ei addewid. *Amen dico vobis. Quodcunque petieritis, &c.* Mat. xxi. 22.

Heb law hyn, y mae ein ffydd wrth hyn yn ei chadarnhau ei hun, yn erbyn pob petrusder ac ammheuaeth gan ddywedyd *Amen*, nid o ddymuniad yn unig (O na wnae Duw) mynnwn pettai, ond o lawn hyder, a siccrwydd, fel pe bai gwedi ei gwblhau. Felly bydd.

Ac o hyn, sef, cyssylltiad yr *Amen*, a'r deisyfiadau, ie a phob un o honynt yn y weddi, y mae rhai yn dysgu, y dylai pob plentyn i Dduw fod yn siccr, ac yn ddiammau ganddo gael maddeuant ei bechodau; a phob un, nid yw etto mor ddiogel a hynny, ymegnio ar geisio a chael yr hyder yma.

3. Y tystiolaeth hwn o'n ffydd, gwedi ei fwrw yn ychwaneg at ein deisyfiadau a ddengys y dylai ein *defosionau*, a'n ymbiliau, ein gweddiau i gyd fod mewn ieithoedd a ddeallom, onide pa fodd y geill y galon gydsynnied a hwynt, neu daeru ac hyderu ar y pethau nis gwyr ddim oddi wrthynt yn neillduol?

Ar un ymarfer o'r *Amen* hwn yn eu gweddiau oedd yn yr Eglwys gynt tan y ddeddf,

a Duw ei hun yn peri i'r bobl ddywedyd *Amen* i weddiau'r offeiriad. "Dyweded yr holl bobl *Amen*." Deut. xxvii. 15. &c. Nehem. v. 13. &c. viii. 6. A'r Athrawon ym mysg yr *Hebreaid* a gymmerent arnynt iawn ganfod ansawdd y weddi, a'r ymbiliwr, wrth glywed yr *Amen*.

Canys dywedent fod tri math a'r Ddrwg *Amen* ym mysg y bobl.

1. Y cyntaf a alwent JETHOMA. *Amen* egwan. Amddifad (wrth feddwl y gair;) y cyfryw *Amen*, nid oes iddo na'r Yspryd Glân yn Dâd, na gwir-grefydd, neu dduwioldeb yn fam. Os *Defosiwn* a esgbrodd arno yn y dechreu, hi a fu farw yn y man: Nid oes nag Ysbryd na bywiowgrwydd ynddo i'w gynnal a'i ddyrchafu tu a'r nef.

2. Yr ail CHETUPHA, *Amen* a fo ar frys, ac yn brysur *Surreptitium*, medd y gair, a ddywedir yn lledradaidd, agos heb wybod i'r dyn: Pan fo'r tafod yn rhedeg o flaen y galon, yn meddwl am ddim yn y weddi ond ei diwedd, ac yn dda ganddo ei bod hi gwedi darfod; *Amen* i'r diwedd, nid i'r deisyfiadau fydd hynny.

3. KETUGNA. *Amen* rhannedig musgrell: Y dyn yn cysgu a'r hyd yr amser, ond yn dechreu ymystyn a dylyfu gên wrth ddarfod; y cyfryw rai ni wyddent pa beth y maent yn dywedyd *Amen* iddo, beth bynnag am danynt

hwy, eu duwiolder sy'n cysgu. Hawdd fyddai yn yr amseroedd diweddaf pechadurus hyn, ddangos i chwi Lawer eraill nid difeius wrth ymwrando a dal sulw arnynt. Megis yr Anwybodus *Amen* sydd gan y *Papistiad*, i ba beth, ni's gwyddent. Eithr y mae diwedd y weddi yn debyg i'r rhagddarpar: A'r weddi i gyd yn debyg i'w ffŷdd anwybodus. Crêd yn unig fel y mae'r Eglwys yn credu, a gweddia fel y mae'r offeiriaid yn gweddio; ond nid yw *bossibl* i'r annysgedig wybod, pa beth y mae eu heglwys yn gredu, na deall gweddiau eu Hoffeiriaid.

Y rhagrîthûs *Amen* a mwy o sain yn y genau, na symlrhwydd, ac ystyr yn y galon, fel y *Pharisæaid* yn gweddio yn yr amlwg, ac yn dywedyd, "*Amen* a llêf uchel, fel yr ymddangosont i ddynion, ac y cânt eu clywed, yn wir meddaf i chwi y maent yn derbyn eu gwobr." Matth. vi. 5. Ac od oes un rhyw arall; na bo ond ei grybwyll: Ni ddysgaf i chwi o'm bôdd gam arfer yn y byd. Dysgwn yn hyttrach ochelyd pob cam arfer yn gystal ar yr *Amen*, a'r *weddi*: ceisio gwneuthur lles i'n heneidiau trwy iawn arfer o honynt, megis ac yr amcanei ein Iachawdwr ac y mae yn disgwyl ar ein llaw. Dysgwn, i ystyried yn ofalus, a dodi ein calonnau ar y bendithion Ysprydol yr ydys yn gweddio am danynt. 2. Dderchafu ein calonnau mewn llawn hyder ffydd yn ein Tâd nef-

awl. A bydded yr *Amen* yn dŷst i ni o hyn i gyd, yn sêl, ac yn arwydd ei fod ef yn gwrando arnom, ac y rhydd i ni bob peth angenrheidiol i'n cyflwr, a'n stâd presennol. Canniadhâ hyn Arglwydd yn ddarbodus, fel y gallom dy wasanaethu yn ddyledus er gogoniant i'th Enw, a dedwyddfyd i'n heneidiau, trwy Iesu Grist, &c.

---

## PREGETH XXII.

Matth. vi. 9. *Am hynny gweddiwch chwi fel hyn.*

*AM hynny.* Gwedi ystyried a mynegi dwys ddefnydd yr holl weddi, trown etto ennyd yn ol i edrych ar yr achos, a barodd in Iachawdwr ei gosod yn esampl, neu battrwn, a pha fôdd y mae i ni ei chanlyn, a'i hiawn arfer.

Yr achos a ddangosir yn y rhan gyntaf o'r bennod, sef Cam-arfer y *Pharisæaid*, a'r cenhedloedd wrth weddio, y rhain yn siaradus, a'r lleill yn rhagrithus: Am hynny y mae ein Iachawdwr yn peri i ni ochelyd arferon pob un o'r ddau: Na fyddwch debyg iddynt hwy adn. 8. Ac yn dangos pa fôdd y gwnawn ni hynny, gan roddi i ni, megis Côf-rester o'r pethau a ddylem ni weddio am danynt, a phattrwm neu esampl o'r sutt a'r môdd, y ceisiem hwynt gan ein Tâd nefol: *Gweddiwch chwi fel hyn. For-*

*ma desideriorum: Non licet tibi aliud petere, Aug: Rheol*, a dull i'n deisyfiadau, nid yw rŷdd na chyfreithlawn i ni ddeisyf ond yr hyn sydd gwedi ei gynnwys ynddi, ac yn y drefn y mae hi yn ysbysu.

*Omnium Precationum fundamentum, Cyprian* sail ein holl weddiau defosionol: Ni saif un erchiad, ond y rhai a sylfaenir arni hi.

*Breviarium totius, Evangelii, et salutaris doctrinæ Compendium Tert.* Byrr-draethawd o'r Efengyl, a chrynodeb o ddysgeidiaeth iechydwriaeth. Ond mawr i'r prîf-dadau ei chanmol hi fel hyn yn deilwng, ac yr awrhon yn yr amseroedd diwaethaf hyn, ei bod hi (ysywaeth) yn ddibrîs, ac yn ddirmyg gan bob crefftwr annyscedig, annuwiol?

Eithr pa leshâd a fydd o'r rheol oni chanlynir? I ba bwrpas y gosodir y sylfaen gan y Pensaer celfydd, onis goruwch-adeiledir arno? Ni wneir portreiad gwaith i edrych arno yn unig, ond i gyfarwyddo'r saeri yn yr adeiladaeth.

Ar ol ystyried defnydd y weddi, ei dosparthu, a'i chymmeryd pob yn ddarn, gyda'r cymmalau, a'u dysceidiaethau naillduol. Gadewch i ni bellach edrych arni yn ei chyflawnder, fel y gosodir hi yn bortreiad perffaith o dduwioldeb, ac y gallom lunio ein holl weddiau ar ei hôl.

Gweddi'r Arglwydd, Pryf-gyfeiriad i'w wasaneaeth yw; yn anghenrheidiol i ni ei harfer,

nid yn unig, oblegid ei bod hi yn help, ac yn hyfforddiad i drefnu a thraethu ein dymuniadau; eithr o ran ein dyledswydd, a'n Iachawdwr gwedi gorchymmyn i ni weddio fel hyn, a dywedyd, *Ein Tad yr hwn wyt etc.* Pa fodd gan hynny'r esgusodir y rhai a'i bwriant heibio yn hollawl, megis peth ofer i'r gwasanaeth, ac yn hawdd ei hebcor? Na atto Duw i ni wneuthur hynny; Na atto Duw i ni esgeuluso'r geiriau bendigedig a ddysgodd efe ei hun i ni er ein lles. Rhydd a chymmwys i ni arferu gweddiau eraill wrth ein angenrheidiau priodol, drwy na bont yn anghyttûn a'r weddi yma.

1. Prif bwrpas y weddi, a'r mwyaf lles i ni oddiwrthi ydyw, er cynnorthwy a chyfeiriad, i'n deisyfiadau tuag at Dduw bob amser, ac ar bob achlysur. Eithr yn gymmaint nad oes hayach mor gyfarwydd, a medru hynny, nid amgen, dodi eu cyfreidiau priodol wrth y rheol cyffredinol, rhai a welant yn dda'ddangos i'r annysgedig yn arbennig y modd a'r sutt y gallont drefnu eu holl ddeisyfiadau ar ol y cyfarwyddiad hwn, eu cyfaddasu i'r amseroedd, y boreu, yr hwyr, amser iechyd, clefyd, hawddfyd, adfyd, &c. a phob math ar achosion, Negeseion, blinder, llwyddiant a'r cyffelyb.

Y boreu, cyn dechreu pob un ei orchwyl yn ei alwedigaeth, attolyged i Dduw,

I. Roddi iddo Râs i geisio ei anrhydedd ef a'i ogoniant ym mhob peth ar a gymmero arno' ei wneuthur. Meddylied am gyngor yr Apostol, a gwnaed ei oreu drwy geisio grâs gan Dduw i'w gyflawni: "Pa un bynnag a'i bwytta, a'i yfed, a'i beth bynnag a wneloch, gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw." 1 Cor. x. 31. Hyd ydyw, *Sancteiddier dy Enw.*

II. Ar iddo reoli ei galon drwy ras, a llywodraethu ynddi, a chyfeirio ei draed i ffordd tangneddef, a'i feddyliau trwy ei Yspryd Glân a'i air bendigedig i bob gwirionedd. Hyn yw, *Deued dy deyrnas.*

III. Ar iddo ei nerthu i wneuthur ewyllys yr Arglwydd gyda phob parodrwydd, ffyddlondeb a llawenydd; ac nid ei ewyllys ei hun un amser, ymofynned am ei waith, ac ymosoded ar ei wneuthur: Ond meddylied, nad oes na grym na gallu ynddo, i wneuthur dim, ond a roddo'r Arglwydd iddo: Ceisied yntau, a dyweded, gyda'r gwr defosionol *Domine, fiat voluntas tua in me, et de me.* O Arglwydd gwneler dy ewyllys ynof, a thrwof, ac o honof beunydd.

IV. Arched i Dduw, beri iddo ymddiried yn ei ragluniaeth a'i ragddarbod ef yn unig, heb fod yn rhy ofalus am bethau bydol, a berthynant i'r bywyd presennol: Gan feddwl am gyngor a gorchymmyn yr Arglwydd, "Nac

ofelwch am eich bywyd, pa beth a fwyttaoch, neu pa beth a yfoch: Nac am eich corph pa beth a wisgoch. Onid yw'r bywyd yn fwy na'r bwyd, a'r corph yn fwy na'r dillad. Matth. vi. 25. Bwriwn ein baich ar yr Arglwydd; efe a wyr fod arnom eisieu yr oll bethau hyn, a chymmerwn yn ddiolchgar yr hyn a roddo efe i ni: A dywedwn yn ddiofn, drwy ffŷdd, ac ymddiried yn ei ragluniaeth ai ragddarbod ef *Dyro i ni heddyw, &c.*

V. Attolyged iddo, ei wneuthur yn wir ostyngedig i gydnabod ei gyflwr llygredig, a bod yn edifeiriol am ei holl bechodau; I fôd yn garedigol tuag at bawb o'i frodyr; a gallu dywedyd yn ddifrifol ag o eigion ei galon; maddeu i mi o Dduw trugarog fy mhechodau a dyro i mi ras i fod yn ewyllysgar ac yn barod bob amser i faddeu i'm cymmydogion, gan fwrw ymaith chwerwedd, a llid, a chenfigen, a dig, a chabledd, gyda phob drygioni: Fel y gallem fyw yn ol cyngor yr Apostol, "Byddwch gymmwynasgar a'i gylydd, yn dosturiol, yn maddeu i'w gilydd, megis y maddeuodd Duw er mwyn Christ i chwithau. Eph. iv. 32.

VI. Arched iddo, ei nerthu yn erbyn profedigaethau, fal na orchfyger ef gan un *temptasiwn*, y cnawd, na'r byd, na'r cythraul; gweddied i Dduw, a'r iddo ledu ei adenydd trosto ai gadw rhag pob drwg, yn enwedig ar

iddo gadw ei enaid; Fal hyn y gwneir hi yn foreuol weddi.

* Pan fyddo hi yn myned yn hwyr, gellir yr un môdd cyfaddasu'r weddi i'r amser, a thrwy yr unrhiw ddeisyfiadau orchymmyn eneidiau i Dduw tros y nôs ar ddyfod arnom, gan attolwg iddo,

1. Fendithio ein gorphwysdra a'n hûn i'n cryfhau, i'n gwneuthur yn gymmwys, ac yn ablach i ogoneddu ei Enw.

2. Adael i ni orphwys yn ddiogel tan ei lywodraeth, a chysgod ei adenydd megis gwir a ffyddlawn ddeiliaid i'w deyrnas.

3. Allu o honom gyflawni ei ewyllys sancteiddiol yn cysgu ac yn neffro, yn gystal wrth orphywys a llafurio, nôs a' dŷdd, yn ddirgel ac yn amlwg, rhyngom a'n hunain, ac yngolwg dynion.

4. Fendithio ein hesmwythdra, a'n cwsg er cadw ein einioes yn ddilwgr, yn gymmaint ac heb orphywysdra cyfamserol, a'i fendith ef ar hynny, ni wna mo'n bara lês i ni, nid yw *bossibl* 'chwaith i ddim a fo gennym dyccio.

5. Faddeu i ni gyfeiliorni y dŷdd, fel na'n brawychir a dychryniadau y nôs.

6. Ein cadw tra fôm yn huno ac yn gorphwyso rhag bob math a'r goeg feddyliau, rhag gwyniau annuwiol, a thrachwantau pechadurus, rhag cynhyrfiadau ac amcanion drwg, yn

breuddwydio, ac yn neffro, fel na bôm fyth megis yr annuwiol, "Anwiredd a ddychymyg ef ar ei wely; efe a'i gesyd ei hun ar ffordd, nid yw dda." Salm xxxvi. 4.

Ac yn amser clefyd marwol, angheuol; ac yn ddiau pa glefyd o hono ei hun nid yw ddinistriol, (yn pwyso at farwolaeth) a'r un modd yn awr angeu, (canys pwy ni's gwyr, mai cennad angau yw pob dolur, yn dwyn rhybudd o farwolaeth, ysgatfydd nid yw hi neppell yn ol?) gweddus a chymmwys i bob un orchymmyn ei enaid a'i gyflwr i Dduw gyda phob diddanwch. Ar ol y deisyfiadau hyn megis rheol ei weddiau; ceisied gan Dduw,

1. Allu o hono fawrhau yn deilwng, a gogoneddu ei Enw sancteiddiol mewn clefyd, ac angau, yn gystal a bywyd, einioes, ac iechyd.

2. Deilyngu o hono ddangos rhyfeddol nerth ei ras, yn ei wendid mwyaf: Ei fod efe ei hun yn llywodraethu yn y galon oddi mewn, pan fo'r dŷn wannaf oddi allan, heb allel syflyd neu ymdroi ar ei wely.

3. Allu o hono ufuddhau i'w ewyllys hyd y diwedd yn llonn yn yr awr ddiwaethaf, pan fo efe yn trengu. *Gwneler dy ewyllys megis yn y nef, felly ar y ddaear hefyd. Dyro* i ni ras i fod yn wir ostyngedig iddo yn y mynudyn hwn, fel y gallwyf gael fy nerbyn i'r sanctaidd gynulleidfa, sydd yn ei wneuthur byth heb drangc na gorphen yn y nefoedd.

4. Deilyngu o hono fendithio'r moddion, y rhai a ddarparodd, ac a drefnodd ei hun i'w harfer yn y cyfryw stâd a chyflwr, er esmwythdra, a diddanwch; a pheri iddo drwy ei rasusol ymweliad ymroi ei hun i'w ewyllys bendigedig ef, yn enwedig yn yr awr ddiweddaf, gan ystyried, er bod marwolaeth yn dychrynnu'r dyn naturiol, nad yw hi ond ymadawiad a byd gwâel, a phorth neu fynediad i mewn i fywyd tra-rhagorol.

5. Ceisied ras i fod yn wir edifeiriol am ei bechodau, fel y gallo yn gyssurus ac yn ewyllysgar ymadel a'r byd mewn cariad, a gorchymmyn ei enaid i Dduw ynghrist Iesu, megis i Greawdwr ffyddlon, a Phrynnwr haelionus.

6. Gan wybod hyn fod Satan yn bryssuraf yn yr awr ddiweddaf a'i lid yn fwy, po lleiaf fo ei amser, yn dal ar ei fantes wrth weled dyn mewn gwendid, ceisied yr amser hynny yn arbennig nerth a chynnorthwy yn erbyn profedigaeth, a'i wared rhag y drwg hwnnw yn y munud hwnnw, fel na ddelo efe fyth yn agos atto mwyach.

Yn amser rhyfel neu ryw aflwydd arall gweddied pob dyn,

1. Am ras i ogoneddu Duw mewn amynedd, gan gydnabod barnedigaethau Duw a'i gyfiawnderau, nad yw efe yn cospi neb ond ar ol ei haeddiant: Dyweded trosto ei hun a'i dyl-

bil: Ac felly'r weddi, cyfeiriad yw i'n ymarweddiad. Rhaid i ni gan hynny ymddwyn yn wastad, a byw yn rheol ein gweddiau, gan ystyried yn-ddyfal, ac ymystyn yn arbennyg at chwech o bethau,

1. I ddwyn rhyw anrhydedd a gogoniant i Dduw beunydd.

2. I ymroi ein hunain yn hollawl i lywodraeth ein Tâd nefol.

3. I wneuthur ei ewyllys ym mhôb gorchwyl.

4 I ganlyn bob un ei alwedigaeth ac i fod yn ddiesgeulus ynddi, gan ymddiried yn Duw am fendith ar a wnelom.

5. I ymddarostwng tan alluog law Duw, oblegid ein pechodau, yn ceisio cymmod gan Dduw wrth fod yn garedigol.

6. I redeg at Dduw bob amser, a chysgod ei adenydd, i'n amddiffynfa, nerth ag ymwared ymmhôb profedigaeth, a drwg, &c.

Pa fodd y gallwn gwplau hyn ond trwy weddio? A pha fodd y gweddiwn, oni wnawn, fel i'n dysgwyd gan yr Arglwydd fal hyn.— *Ein Tád yr hwn wyt yn y Nefoedd, &c.*

T E R F Y N.

T. Roberts, Argraphydd, Caernarfon,